# ALLWEDD DDIRGEL Y NEFOEDD,

NEU

# RESYMAU

DROS

# YSTAFELL WEDDI,

GAN Y DIWEDDAR

BARCH. THOMAS BROOKS,

GWEINIDOG YR EFENGYL.

"Ond tydi, pan weddïech, dôs i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddïa ar dy Dad yr hwn sydd yn y dirgel; a'th Dad yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg."—IESU GRIST.



A Gyfieithwyd o'r Trydydd Argraffiad,

GAN Y PARCH. WILLIAM WILLIAMS,

TALGARTH.

NANTYGLO:

CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN EVAN EVANS.

1845.

# RHAGYMADRODD Y CYHOEDDWR.

ANWYL GYDGENEDL,—Mae yn radd o ddyddanwch i'm meddwl helbulus wrth ddwyn y llyfr hwn trwy y Wasg, fod cymaint o awydd am dano wedi cael ei ddangos, fel ag y mae ei dderbyniad eisoes, cyn gorphen ei argraffu, tuhwnt i'm dysgwyliad ; gobeithiwyf y bydd yn foddion yn llaw Ysbryd Duw, i enyn ysbryd gweddi lle nad yw, ei adferu lle mae wedi lleihau, a'i gynyddu lle y mae.

Mae yn ddrwg genyf yr oediad mawr fu arno ar ol ei ddechreu. Mae yr achos o hyny, ond odid, yn hysbys i'r rhan amlaf.—Nis gwn eto beth yw dyben fy Nhad yn fy mhrofedigaethau presennol, bydd yn ddigon cynar i wybod hyny pan welo efe yn dda i'w ddatguddio : y cwbl a allaf ddywedyd ar y wyneb hwnw i'm hamgylchiadau yw, Nad yw wedi fy ngadu mewn dwfr na thân heb radd o ryw ymgeledd cryfach nag a geir yn ngwlad natur, a meddyliwyf mai dyna sydd wedi fy nghadw rhag gwallgofi. Gyda golwg ar fy mhrofedigaethau yn eu cysylltiad â'r offerynau, efallai na bydd yn dramgwydd, ac ysgatfydd fod rhesymoldeb hunanamddiffyniad yn caniatau i mi grybwyll, Nad oedd un ymosod arnaf gan neb o'm gofynwyr, nac un perygl o hyny, mor bell ag yr wyf yn deall, nes i rai o'm brodyr nad oedd dim a fynent â mi yn amgylchiadol, trwy gydymddyddan mewn congl yn fy absenoldeb, gynllunio mesurau a thaenu'r chwedl am eu cynllun, nes anesmwytho fy ngofynwyr, fel nas gallaswn, yn ddiberygl, fyned yn mlaen yn mhellach. Gwnaed hyn pan y gwyddid fod cystudd angeuol yn fy nheulu, fel y buasai yn anhawdd i mi fod yn bresennol, hyd yn nod pe buaswn yn gwybod fod y cyfryw gydymddyddan i gymeryd lle, ond y gwirionedd yw nas gwyddwn fod y cyfryw gydymddyddan i gymeryd lle ar y cyfryw amser, nes clywed y chwedl wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar ; ïe, pe buaswn yn gwybod, buasai yn fwy cyson âg ysbryd yr efengyl, os oedd eisiau gwneyd rhyw beth, i arafu nes cawswn gladdu fy marw, gan nad oedd dim y pryd hwnw yn fy amgylchiadau yn wahanol i arferol.—Mae yn ddrwg genyf fy mod, ar amser da, wedi anturio gormod i ateb amser drwg, yr hyn a barodd fod cymaint o eiddo wedi sefyll ar fy llaw : mae yn hawdd i bawb goelio mai amcanu gwneyd daioni yr oeddwn, er i mi edifarhau rif gwallt fy mhen o weithiau wedi hyny cyn fod yr ymosod hyn arnaf : ond yr oeddwn gyda'r gorchwyl o ymddadrus er ys amser, ac yn ymddadrus bob yn ychydig, yn ol fel yr oeddwn yn gallu gwerthu fy eiddo, ac yr wyf yn credu y buaswn yn dwyn fy llestr i dir pe buasai fy mrodyr mor bwyllog a pheidio taflu ceryg ato yn fy absenoldeb. Efallai fod diffyg ymgynghori â Duw o'm tu i, yn gystal a diffyg pwyll a brawdoliaeth o'u tu hwythau, yn achos o hyn. Nid wyf yn amhau nad oedd dyben rhai o honynt yn dda, ac efallai na ddarfu i neb o honynt ar y pryd ystyried y canlyniadau. Mae nodi y cyfryw bethau yn gyhoeddus yn beth chwithig ; ond efallai fod gwers i'w dysgu trwy hyny ag y mae pob moddion ereill wedi bod yn aneffeithiol i'w dysgu. Os yw ysbryd *cario'r dydd* yn cael mwy o le na chysur, cymeriad, a meddiannau brodyr, mae yn hawdd credu y cymerir mantais ar brofedigaethau er mwyn cael buddugoliaeth, er i hyny aredig teimladau'r natur ddynol yn y manau tyneraf, a pheri colledion o gannoedd o bunnau ar yr un pryd. Nid wyf yn gallu canfod hyd yma nad fy nyledswydd yw nodi y pethau hyn, ond os wyf yn camgymeryd, gan wneyd peth na ddylaswn, dymunaf ar yr Arglwydd a'm brodyr faddeu i mi.

## RHAGYMADRODD Y CYHOEDDWR.

Efallai hefyd y caniateir rhyw gymaint i mi yn fy mhrofedigaeth i roddi rhediad i'm teimladau, y rhai yr oedd ganddynt fwy na digon o waith i ddal i weled amryw o'm teulu mewn cystudd, ac un yn ymyl marw, a'm brodyr ar yr adeg hòno, heb yn wybod i'm, yn dyrysu fy holl amgylchiadau, pan nad oedd un ymosod blaenorol arnaf o un cwr. Y mae y pair yn boeth iawn; ond dymunaf ar y sawl a ddarllenont hyn, weddïo trosof ar yr hwn sydd yn eistedd wrth enau y ffwrnais, am fy nwyn, bechadur gwael, allan fel yr aur. Mae syrthio yn llaw yr Arglwydd yn beth melus oddiwrth syrthio yn llaw dyn, er i'r dyn fod yn frawd: ond pan mae efe yn gweled yn dda i ddefnyddio dynion yn offerynau, dymunwn gydnabod mai efe ŵyr oreu pa fodd i drin. Byddai yn hawdd ysgrifenu cyfrol ar y pethau hyn, a'r dagrau yn gwlychu y papyr nes dyrysu y darlleniad; ond dagrau edifeirwch a chariad yn ymdrech drwy ffydd â Duw mewn gweddi yw y rhai a atebant fwyaf o ddyben.

Ychydig allaf wneyd dros achos Duw ac eneidiau dynion, ond os caf fod yn rhyw offeryn, er tloted, i roddi yn nwylaw fy nghyd genedl ryw draethodau ag y byddo eu tuedd uniongyrchol i gynyddu gwir grefydd ac egluro gras Duw, cyfrifaf hyny yn wir fraint. Barnwyf fod y Llyfryn hwn o'r cyfryw duedd; mae ei bethau yn syml, a'i ddull yn eglur, ac agos at gyhaedd-iadau y gwan, ond y mae yn fuddiol iawn i'r cryf hefyd. Bwriadwyf gyhoeddi amryw draethodau o'r cyfryw duedd, os caniata yr Arglwydd einioes ac iechyd. Gan ddymuno fod bendith y nefoedd yn cydfyned â'r Llyfryn hwn, gorphwysaf,

*Nantyglo,*
*Gorph.* 28, 1845.

Yr eiddoch yn helbulus,

EVAN EVANS.

# RHAGYMADRODD CANMOLIAETHOL,

**Gan y Parch. George Lewis, D. D.,**

(ATHRAW ATHROFA Y GOGLEDD.)

---

Y PARCHEDIG THOMAS BROOKS, *awdwr y Traethawd canlynol, ydoedd un o'r Gweinidogion a dröwyd allan o Eglwys Loegr yn y flwyddyn* 1662. *Yr oedd yn Bregethwr goleu a chynes o'r Efengyl; a bu ei weinidogaeth yn hynod o ddefnyddiol i luaws o eneidiau. Yr oedd ei Draethodau yn lluosog; ac amryw o'i waith a ail-argraffwyd yn olynol. Ei "Nefoedd ar y Ddaear," "Anchwiliadwy olud Crist," "Yr Afalau Aur," "Coron a Gogoniant Cristionogaeth," ac "Allwedd Ddirgel y Nefoedd," ydynt rai o'i weithiau mwyaf nodedig.*

*Yn y Traethawd canlynol y mae yr awdwr yn galw sylw y darllenydd at ddyledswydd bwysig, ond a esgeulusir yn rhy aml. Ni byddai ymhelaethu ar y mater hwn yma ddim amgen nag attal y darllenydd, yr hwn yn awr sydd â chyfleusdra ganddo i sylwi ar yr hyn y mae yr awdwr yn ei nodi ar natur a phwysfawrogrwydd y ddyledswydd. Bydded i'r argraffiad presenol fod yn foddion i gynhyrfu a chalonogi pob darllenydd, gyda hyder gostyngedig, i nesau at orseddfainc y gras.*

G. LEWIS.

Llanfyllin, Medi 20, 1820.

# TAFLEN

YN CYNWYS

## PENAU NEILLDUOL Y LLYFR HWN.

---

TUDAL.

TAFLEN.

# ALLWEDD DDIRGEL Y NEFOEDD.

---

MATHEW VI. 6.

"*Ond tydi, pan weddiech, dos i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddia ar dy Dad, yr hwn sydd yn y dirgel; a'th Dad, yr hwn a wel yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg.*"

Y MAE y geiriau hyn o eiddo ein Hiachawdwr yn eglur, ac idd eu cymeryd yn llythyrenol, ac nid yn arallegawl, oblegid am gauad drws yr ystafell y mae yn llefaru. Yn y bennod hon y mae gwrthdarawiad amlwg rhwng y Phariseaid yn gweddïo yn y synagogau, a chonglau yr heolydd, ac ereill yn gweddïo yn y dirgel.

Yn y testyn chwi a gewch orchymyn pendant i bob Cristion weddïo wrtho ei hun: "Ond tydi, pan weddïech:" nid yw yn dywedyd, "Pan weddïech *chwi*, ond *tydi* pan weddïech, dos i'th ystafell; megys pe na byddai yn llefaru cymaint am y ddyledswydd gydunol o lawer yn gweddïo, ag am y ddyledswydd sydd ar bob person i gyflawni wrtho ei hun.

Y mae y gorchymyn yn y testyn yn ein danfon i'r dirgel yn gystal ag i'r eglwys; y mae hwnw yn rhagrithiwr mewn rhan, yr hwn a ddewis y naill, ac a esgeulusa y llall; oblegid trwy hyny y mae yn dywedyd wrth y byd nad yw yn prisio *am* yr un, nid yw yn gwneuthur cydwybod *o* un: yr hwn sydd yn gosod

gwisg grefyddol oddi cartref, er enill iddo ei hun enw mawr yn mysg dynion, ac ar yr un pryd yn byw yn ddidduw gartref, a ddynoethir yn y diwedd gan Dduw; ac a ddangosir o flaen y byd fel y rhagrithiwr mwyaf cywilyddus.

Bellarmine, a rhai ereill, sydd yn troi y testyn i alegori, a ddywedant fod yn y geiriau hyn ddwy arallèg. Yn 1af, drws yr ystafell yw y meddwl, cau y drws, h. y., meddant, y meddwl, rhag i ddychymygion gwag a meddyliau bydol syfrdanu dy feddwl wrth weddïo. Yn 2il, y drws, meddant, yw y genau—*cau dy ddrws*, hyny yw, dy wefusau, a bydded dy weddi fel gweddi Hannah, wedi ei hymddwyn yn dy feddwl, ac heb gael ei thraethu â'th enau. Y mae yn arferiad gan Bapistiaid, a dynion monachaidd ereill, sydd yn cynllwyn i dwyllo, i droi yr ysgrythyrau santaidd i drwyn cwyr, dan ffug arallegau a dirgeledigaethau. Un yn mawr garu arallegau oedd Origen. Trwy rym ei ranau a'i alluoedd y tröodd y rhan fwyaf o'r ysgrythyrau i arallegau; a thrwy gyfiawn farn Duw arno, yr oedd yn ffol ddeall ac yn gwrthun gymhwyso Math. xix. 12, yn llythyrenol, "Y mae rhai wedi gwneuthur eu hunain yn eunuchiaid er mwyn teyrnas nefoedd;" ac felly yr anafodd ei hun. Ac yn wir, fe allasai cystal a hyny dynu un o'i lygaid i'r un perwyl, oblegid dywed Crist, "Gwell yw i ti yn un-llygeidiog fyned i mewn i'r bywyd, nag a dau lygad genyt dy daflu i dân uffern," Math. xviii. 9. Y mae hereticiaid yn mhob oes, yn gyffredin, yn amddiffyn eu *heresiau*, trwy droi yr ysgrythyrau i arallegau. Y mae yr apostol yn llefaru am y cyfryw fel yn gwadu adgyfodiad y corff, ac yn troi yr holl dystiolaethau am yr adgyfodiad i arallegau; gan ddeall wrth hyny adgyfodiad ysbrydol yr enaid o bechod yn unig; o'r cyfryw rai oedd Hymeneus a Philetus, y rhai a ddadymchwelasant ffydd rhai, gan ddywedyd, "Ddarfod yr adgyfodiad eisoes," 1 Tim. ii. 17, 18. Ac onid oes llawer yn ein plith

ninnau ag sydd yn troi holl hanes y Beibl i aralleg—sydd yn troi Crist, a phechod, ac angeu, enaid, ac uffern, a nefoedd, a'r oll, i aralleg?

Y mae llawer wedi, ac yn gwyrdroi yn resynol yr ysgrythyrau, trwy eu troi i gyffelybiaethau gwag a disail. Y mae rhai synwyrgall nwyfus, wedi esbonio, mai paradwys yw yr enaid, mai dyn yw y meddwl, mai y wraig yw y synwyr, mai y sarff yw hyfrydwch, mai pren gwybodaeth da a drwg yw doethineb, ac mai y lleill o'r prenau yw rhinweddau a chynnysgaethiadau y meddwl. O gyfeillion! y mae yn beryglus dwyn i mewn gyffelybiaethau lle nad yw yr ysgrythyrau yn eu gwarantu yn amlwg ac eglur, ac i gymeryd y geiriau hyny yn ffugurol a ddylent gael eu cymeryd yn briodol.

Nid oes yn gyffredin i'r geiriau a gyfieithir ystafell, yn y testyn, ond tri arwyddocad arferedig yn mhlith yr awduron Groeg. Yn gyntaf, fe ellir eu cymeryd am ystafell ddirgel, neu barlawr cauedig a chloedig. Yn ail, am gell neu logawd (*cupboard*) i osod bwyd ynddo. Yn drydydd, am gist neu gwbwrd cloedig, lle y cedwir trysorau yn gyffrediu.

Yr esbonwyr callaf a doethaf ag a welais i, diweddar a hen, ydynt oll yn esbonio fy nhestyn am weddi ddirgel mewn lleoedd unig, ac o'r un golygiad a'r cyfryw wyf finau; ac felly y brif athrawiaeth a gasglaf oddiwrth y geiriau yw hon:

*Fod gweddi ddirgel, neu ystafellol, yn ddyledswydd anhebgorol, a osodwyd gan Grist ei hun ar bawb nad yw yn foddlon i orwedd dan y nod gresynol o fod yn rhagrithwyr.*

Yr wyf yn ddifrifol ddymuno arnoch i osod at eich calon y pum peth hyn: 1. Os oes unrhyw weddi yn ddyledswydd, yna y mae yn rhaid fod gweddi ddirgel yn ddyledswydd; oblegid y mae gweddi ddirgel yn gymaint gweddi ag un; ac y mae gweddi ddirgel yn parotoi ac yn addasu yr enaid at weddi deuluaidd a

chyhoeddus. Y mae gweddi ddirgel yn hwylus dueddu ac yn nerthol gyfleu y Cristion at bob dyledswydd a gwasanaeth crefyddol arall.

2. Os nad yw gweddi ddirgel yn ddyledswydd anhebgorol sydd yn perthyn i ti, trwy ba awdurdod y mae dy gydwybod yn dy gondemnio, ac yn edliw i ti am esgeuluso y ddyledswydd hon? Ond yn

3. A fu hi un amser yn arferiad neu yn drefn gan Dduw i addaw gwobrwy eilwaith ac eilwaith, gwobr gyhoeddus am waith neu wasanaeth, na orchymynodd ef ei hun? Na ddo, yn ddiau. Yn awr, y mae yr Arglwydd wedi addaw eilwaith ac eilwaith wobrwyo yn gyhoeddus y ddyledswydd hon o weddi ddirgel, Math. vi. 6, 18. Ac o ganlyniad, y mae y ddyledswydd hon yn gorphwys yn ddiamheu ar bob Cristion.

4. Y mae ein Hiachawdwr yn y testyn yn ei gymeryd fel peth caniataol, y byddai pob plentyn i Dduw yn gweddïo yn aml ar ei Dad nefol, ac oblegid hyny y mae yn eu hannog o hyny yn fwy at y gwaith o weddïo yn ddirgel. Pan weddïech, megys pe dywedasai, yr wyf yn gwybod y gellwch yr un mor hawdded, glywed heb glustiau, byw heb ymborth, ymladd heb ddwylaw, a cherdded heb draed, ag y gellwch fyw heb weddïo. Gan hyny, pan eloch i ddisgwyl wrth Dduw, neu y rhoddech ymweliad i'ch Tad nefol, ewch i'ch ystafell, a chauwch eich drws, &c.

5. Os nad yw ystafell weddi yn ddyledswydd anhebgorol, yr hon a osododd Crist ar ei holl bobl, paham y gwrthwyneba Satan gymaint arni—paham y mae efe mor ddiwyd ac mor ddiflino yn llafurio i wan-galoni Crist'nogion ynddi, i gymeryd Crist'nogion ymaith oddi wrthi? Sicr yw na wnai Satan byth y fath ryfel creulon a pharhaus ag y mae yn ei wneuthur yn erbyn gweddi ddirgel, pe na buasai yn ddyledswydd angenrheidiol, ac yn ddyledswydd sydd yn brashau yr enaid. Ond rhagor am hyn yn y Traethawd canlynol.

Y mae y pum peth a enwyd yn cadarnhau yn amlwg fod dirgel ymwneyd â Duw yn ddyledswydd ddiamheuol ar bob Cristion. Ond er mwyn agor y pwnc mawr ac angenrheidiol hwn yn well, mi a osodaf ar lawr yr ugain rheswm neu ystyriaethau canlynol:

I. Ymroddodd y saint enwocaf dan yr Hen Destament a'r Newydd ei hunain i weddi ddirgel. Wrtho ei hun y bu Moses ddeugain diwrnod a deugain nos gyda Duw, Ex. xxxiv. 28. Felly y mae Abraham yn llenwi ei enau â rhesymau, ac yn dadleu yr achos allan ei hunan gyda Duw mewn gweddi, er rhagflaenu dystryw ac anghyfanedd-dra Sodoma, ac ni adawodd heibio ddadleu a gweddïo nes iddo ddwyn Duw i lawr o ddeg-a-deugain i ddeg, Gen. xviii. 22—32. Ac yn Gen. xxi. 33, y cewch Abraham eilwaith gyda'i weddi ddirgel: "Ac Abraham a blanodd goed yn Beershebah, ac a alwodd yno ar enw yr Arglwydd Dduw tragwyddol." Paham y planodd goedwig, ond fel y gallasai gael lle mwy dirgelaidd i weddïo ac i dywallt ei enaid allan ger bron yr Arglwydd yno? Felly Isaac, Gen. xxiv. 63: "Ac Isaac a aeth allan i fyfyrio yn y maes yn min yr hwyr." Y mae y gair Hebraeg *Sasnach*, a gyfieithir yma, myfyrio, yn arwyddo gweddïo yn gystal a myfyrio, ac felly yr arferir ef yn aml. Gair cynhwysfawr ydyw, sydd yn cymeryd i mewn weddio a myfyrio hefyd. Felly y cewch Jacob gyda'i weddi ddirgel, Gen. xxxii. 24—28: "A Jacob a adawyd ei hunan, ac yno yr ymdrechodd gŵr ag ef nes codi'r wawr." Pan oedd Jacob yn unig wrtho ei hun, yn y tywyll nos, a phan yr oedd ei gymhalau o'u lle, y mae ef yn y modd hyny yn ymdrechu ac yn ŵylo, yn wylo ac yn ymdrechu mewn gweddi ddirgel, ac megys tywysog, o'r diwedd, efe a orchfygodd gyda Duw, Hosea xii. 3, 4. Felly Dafydd, Salm lv. 16, 17: "Myfi a weddïaf ar Dduw; a'r Arglwydd a'm hachub i; hwyr a boreu, a hanner dydd, y gweddïaf, a byddaf daer: ac efe a glyw fy lleferydd." Yr un modd yr

oedd Daniel dair gwaith yn y dydd mewn gweddi ddirgel, Dan. vi. 10: "Yna Daniel, pan wybu selio yr ysgrifen, a aeth i'w dŷ, a'i ffenestri yn agored yn ei ystafell tua Jerusalem; tair gwaith yn y dydd y gostyngai efe ar ei liniau, ac y gweddïai, ac y cyffesai o flaen ei Dduw, megys y gwnai efe cyn hyny." Yr oedd Daniel wedi ymarfer ei hun i weddi ddirgel; efe a ai i'w ystafell cyn yr ai at ei orchwyl cyhoeddus a gorchwylion y wladwriaeth, ac ar ei ddychweliad i giniaw, gwnai droi yn gyntaf i'w ystafell i wasanaethu ei Dduw, ac i adfywio ei enaid, cyn yr eisteddai i lawr i wledda ei gorff; ac ar ddiwedd y dydd, wedi gorphen ei orchwylion gyda dynion, gwnai hi yn orchwyl iddo ei hun i ddisgwyl wrth Dduw yn ei ystafell. Felly yr oedd Jonah yn dal i fyny weddi ddirgel pan yn mol y pysgodyn, ïe, pan yn mol uffern, Jonah ii. 1, 2, &c. Ac ni a gawn Elias wrth weddi ddirgel dan y ferywen, 1 Bren. xix. 4. Yr un modd Hannah, 1 Sam. i. 13: "A Hannah oedd yn llefaru yn ei chalon, yn unig ei gwefusau a symudent, a'i llais ni chlywid." Y mae gwir enaid gweddi yn gorwedd yn nhywalltiad yr enaid allan ger bron Duw, megys y gwnaeth Hannah, ad. 15. Nid oedd Rebecca ychwaith yn ddyeithr o'r ddyledswydd hon; ond a aeth i ymofyn â'r Arglwydd, Gen. xxv. 22: hyny yw, hi a aeth i ryw fan dirgel i weddïo, medd Calfin, Musculus, Mercer, ac ereill. A chyn gynted ag y dychwelwyd Saul, dechreuodd ar weddi ddirgel yn y fan, Act. ix. 11: "A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhŷ Judas un a'i enw Saul, o Tarsus: canys wele y mae yn gweddïo." Er mai Pharisead manol oedd, eto ni weddïodd erioed i bwrpas, nac erioed yn effeithiol yn y dirgel cyn hyn. Arfer y Phariseaid oedd gweddïo yn nghonglau yr heolydd, ac nid yn nghonglau eu tai. Ond ar ol ei droedigaeth, yr oedd yn aml mewn gweddi ddirgel, fel y gellwch weled wrth gymharu yr ysgrythyrau hyn,

Rhuf. i. 9; Eph. i. 15, 16; Phil. iii. 4; 2 Tim. i. 3. Gwr gwresog mewn ystafell weddi oedd Epaphras, Phil. ix. 12, 13. Felly yr oedd Cornelius wedi hunan-ymroddi i weddi ddirgel, Act. x. 2, 4. Aeth Pedr i fyny ar nen y tŷ i weddïo, adn. 9: "A thranoeth, fel yr oeddynt hwy yn ymdeithio, ac yn nesau at y ddinas, Pedr i aeth i nen y tŷ i weddïo, yn nghylch y chweched awr." Aeth Pedr i fyny ar y plwm, nid yn unig i ochelyd syfrdandod, ond fel y byddai yn fwy cuddiedig yn ei wasanaeth dirgel. Dywed Eusebius wrthym am un Uames Justus, fod ei benliniau wedi tyfu yn gelyd ac yn ddafadenog wrth ymostwng mor aml ar ei liniau mewn gweddi ddirgel. A Nazianzen a rydd hanes am ei chwaer, Gorgonia, fod ei phenliniau fel yn glynu wrth y ddaear trwy ei haml weddïo yn y dirgel. A Gregory a ddywed am ei fodryb Drucilla, fod ei pheneliniau cyn galeted a'r corn, trwy aml bwyso ar ei hysgrifen-gist (*desk*) mewn gweddi ddirgel. Mi a ddarllenais am wr defosiynol, yr hwn, pan ddelai yr amser penodol i'w wasanaeth ddirgel, yn mha gymdeithas bynag y byddai ynddi, gwna dynu oddi wrthynt, trwy y cyfarchiad tlws a phrydferth hyn, "Y mae i mi gyfaill yn aros am danaf, byddwch wych." Yr oedd pendefiges uchel o'r wlad hon, yr hon a ymneillduai yn aml allan o gymdeithas Arglwyddi ac Arglwyddesi o fri mawr a ddeuent i ymweled â hi, yn hytrach nag iddi golli ei hamser penodol i ddisgwyl wrth Dduw yn ei hystafell: hi a gymerai, fel y galwent hwy y peth, yn anfoesgar, ei chenad oddi wrthynt, fel y gallai hi yn y dirgel wrando ar Arglwydd yr arglwyddi. Hi a hebgorai bob rhyw amser ag a allai er gosod allan ei serchiadau, ei moesgarwch, a'i mwyneidd-dra, yn mhlith ei pherthynasau a'i chyfeillion; ond ni oddefai iddynt un amser i yspeilio Duw o'i amser, nac ychwaith yspeilio ei hunig enaid o'r cysur a'r cymundeb ag oedd hi yn arfer ei fwynhau pan gyda Duw yn ei hystafell. Ac yn wir, y mae un awr o

gymundeb gyda Duw yn eich ystafell idd ei ddewis o flaen y goreu a'r penaf o gymdeithasau y byd. Ac yr oedd plentyn i un bendefiges Grist'nogol, yr hwn oedd wedi ymroddi yn y fath fodd i weddi o'i fabandod, a chyn y gallai yn iawn lefaru, fel yr arferai fyned ar ei ben ei hun i weddïo; ac fel yr oedd yn tyfu, byddai yn amlach mewn gweddi, ac yn ymneillduo ei hun o gymdeithas; efe a ofynai holiadau dyeithr iawn i'w fam, yn mhell uwch law cyrhaeddiadau un o'i oed; ac o'r diwedd pan nad oedd ond pum mlwydd oed, yn ysgipio ei dopyn tro, taflodd yn ddisymwth ei fflangell a'i dopyn, a rhedodd at ei fam, a chyda mawr lawenydd dywedodd wrthi, "Mam, y mae yn rhaid i mi fyned at Dduw; a ddeuwch chwi gyda mi?" Atebodd hithau, "Fy anwyl blentyn, pa fodd y gwyddost ti y cai di fyned at Dduw?" Atebodd yntau, "Fe ddywedodd Duw felly wrthyf, oblegid yr wyf fi yn caru Duw, ac y mae Duw yn fy ngharu innau." "Fy anwyl blentyn, y mae yn rhaid i chwi fyned pan welo Duw yn dda—ond paham na arhosi di gyda mi?" Atebodd y plentyn, "Ni arhosaf ddim, y mae yn rhaid i mi fyned at Dduw."—Ac ni bu y plentyn fyw uwch law mis wedi hyny, ac ni phrisiai am chwareu byth mwy, ond syrthio yn glaf a wnai, gan ddywedyd bob amser, Fod yn rhaid iddo ef fyned at Dduw, *fod yn rhaid iddo ef fyned at Dduw.* Ac felly, weithiau, y mae Duw allan o enau plant bychain, a rhai yn sugno, yn perffeithio moliant. Yn ddiau fe aeddfedir y cyfryw i'r nefoedd yn foreu, ag sydd yn foreu yn ymofyn am Dduw yn y dirgel. Ac y mae Eusebius yn rhoddi hanes am yr ymherawdwr Cwstenyn, ei fod bob dydd yn arfer cau ei hunan i fyny mewn rhyw le dirgel yn ei lys, ac yno ar ei linian plygedig y gwnai ei ddeisyfiadau duwiol at Dduw. "Fy Nuw a finnau ydym gyfeillion rhagorol," medd yr enwog Dr. Sibbs. Y dyn hwnw sydd a'i enaid yn gynefin gyda Duw yn yr ystafell, mewn diffeithwch, ogof, neu

ddaear-dy, a gaiff afael ar fwy o hyfrydwch rhagorol, a gwir bleser, nag mewn palas tywysog. Wrth yr holl esiamplau hyn y gwelwch fod plant Duw yn mhob oes wedi ymroddi i weddi ddirgel. O gyfeillion! fe ddylai y siamplau duwiol hyn fod yn gynhyrfiadol, yn argyhoeddiadol, ac yn annogaethol iawn i chwi. Yn ddiau, mae yn gymaint dyledswydd *arnoch* chwi ag ydyw o ogoniant *i* chwi, i ganlyn yr esiamplau duwiol hyn a osodwyd yn awr o'ch blaen. Tyst, yr ysgrythyrau canlynol: Diar. ii. 20, "Fel y rhodiech di ar hyd ffordd gwŷr da, a chadw llwybrau y cyfiawn:" 1 Cor. xi. 1, "Byddwch ddilynwyr i mi, megys yr wyf finnau i Grist:" Phil. iii. 17, "Byddwch ddilynwyr i mi, frodyr, ac edrychwch ar y rhai sydd yn rhodio felly, megys yr ydym ni yn siampl i chwi:" Phil. iv. 9, "Y rhai a ddysgasoch, ac a dderbyniasoch, ac a glywsoch, ac a welsoch ynof fi, y pethau hyn gwnewch: a Duw yr heddwch a fydd gyda chwi:" 1 Thess. i. 6, "A chwi a aethoch yn ddilynwyr i ni, ac i'r Arglwydd, wedi derbyn y gair mewn gorthrymder mawr:" Heb. vi. 12, "Fel na byddoch fusgrell, eithr yn ddilynwyr i'r rhai trwy ffydd ac amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion." Felly 2 Tim. iii. 10, 11, 12, 14; Tit. ii. 7. Deddf rhagorol o eiddo yr Ephesiaid oedd hono, Y dylai dynion osod o'i blaen y siamplau goreu, a dal yn eu meddwl bob amser ryw ddyn enwog. Dynion drwg ydynt mewn cariad rhyfeddol ag esiamplau drwg, Jer. xliv. 16, 17. Indiad, wedi clywed i'w hynafiaid fyned i uffern, a ddywedodd, yr elai yntau, gan hyny, yno hefyd. Y mae gan rai dynion feddwl myned i uffern er mwyn cymdeithas! O! na byddem ni gymaint mewn cariad ag esiamplau da, ag yw ereill mewn cariad ag esiamplau drwg, ac yna byddem yn amlach yn ein hystafelloedd nag ydym. A garwn ni edrych ar luniau ein cyfeillion, ac heb garu edrych ar esiamplau duwiol y rhai hyny ag sydd yn ddarlun hawddgar a bywiol o Grist? Esiamplau duwiol rhai

ereill a ddylai fod yn ddrych wrth ba un y dylem ni wisgo ein hunain. Hwnw yw y Cristion goreu a challaf, sydd yn ysgrifenu ar ol y cynllun ysgrythyrol tecaf, sydd yn dilyn y Crist'nogion hyny, sydd enwocaf mewn gras, ac sydd wedi ymarferyd fwyaf â gweddi ystafellol, ac yn y dyledswyddau crefyddol mwyaf cyfrinachol. *Jerom*, wedi darllen hanes bywyd a marwolaeth *Hilarion*, (un a fu byw yn Grist'nogol iawn, ac a fu farw yn gysurol iawn,) a blygodd i fyny y llyfr, gan ddywedyd, "Da: Hilarion fydd y *champion* a ganlynaf fi, ei fywyd da fydd fy nghynllun, a'i angeu duwiol fy rhagflaonor." Ardderchawg yw byw a marw yn ol esiamplau y saint enwocaf.

II. Ystyriwch, pan yr oedd Crist ar y ddaear, yr oedd efe yn mawr ymarfer ei hun mewn gweddi ddirgel; yr oedd yn aml gyda Duw ar ei ben ei hun, fel y gellwch weled yn yr ysgrythyrau canlynol: Math. xiv. 23, "Ac wedi iddo ollwng y torfeydd ymaith, efe a esgynodd i'r mynydd wrtho ei hun i weddïo; ac wedi ei hwyrhau hi, yr oedd efe yno yn unig." Crist yn dewis unigrwydd at weddi ddirgel, sy, nid yn unig yn nodi i ni y perygl o gythrwfl a gŵyriad y meddwl, ond hefyd mor angenrheidiol yw i ni ddewis y lleoedd mwyaf addas ag a allwn at weddi ddirgel. Y mae ein hanwadalwch ni, yn nghyd ag anesmwythder Satan, yn galw arnom am gael y fath leoedd, lle y gallwn yn rhydd dywallt allan ein heneidiau i fynwes Duw: Marc i. 35, "A'r boreu yn blygeiniol iawn, wedi iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le anghyfanedd; ac yno y gweddïodd:" Marc vi. 46, "Ac wedi iddo eu danfon hwynt ymaith, efe a aeth i'r mynydd i weddïo." Yr hwn a ewyllysia weddïo i bwrbas, y mae yn angen iddo fod yn llonydd wrtho ei hun: Luc v. 16, "Ac yr oedd efe yn cilio o'r neilldu yn y diffeithwch, ac yn gweddïo." Yr oedd efe yn ymadaw, gan fyned i weddïo, er rhoddi ar ddeall i ni ei fod yn gwneuthur felly yn aml. Pan na byddai Crist nac yn dysgu nac

yn gwneuthur gwyrthiau, byddai yn astud iawn y pryd hyny mewn gweddi ddirgel: Luc vi. 12, "A bu yn y dyddiau hyny, fyned o hono ef allan i'r mynydd i weddïo: a pharhau ar hyd y nos yn gweddïo Duw." A dreuliodd Crist nosweithiau cyfain mewn gweddi ddirgel i achub ein heneidiau? ac a gawn ni dybied ei fod yn beth mawr i ni dreulio awr neu ddwy yn y dydd, er mwyn lles tufewnol a thragwyddol ein heneidiau? Luc xxi. 37, "A'r dydd ydoedd efe yn athrawiaethu yn y deml; a'r nos yr oedd efe yn myned ac yn aros yn y mynydd a elwir yr Olewydd." Y mae Crist yn aml yn cysylltu gweddïo a phregethu â'u gilydd; a'r hyn a gysylltodd Crist na anturied un dyn ei wahanu: Luc xxii. 39, 41, 44, 45, "Ac wedi iddo fyned allan, efe a aeth, yn ol ei arfer, i fynydd yr Olewydd, a'i ddisgyblion hefyd a'u canlynasant ef. Ac efe a dynodd oddi wrthynt tuag ergyd carreg; ac wedi iddo fyned ar ei liniau, efe a weddïodd. Ac efe mewn ymdrech meddwl, a weddiodd yn ddyfalach; a'i chwys ef oedd fel defnynau mawrion o waed (gwaed ceuledig neu rewedig) yn disgyn ar y ddaear: (ni chafodd gardd na chynt na chwedi hyn ei dyfrhau â'r fath waed a hwn.) A phan gododd ef o'i weddi, a dyfod at ei ddisgyblion, efe a'u cafodd hwynt yn cysgu gan dristwch." Ah! y fath ddarniau truenus o wagedd yw y goreu o ddynion mewn awr o brofedigaeth a themtasiwn. Y dynion hyn, ychydig cyn hyn, a addawsant ac a broffesasant yn hyf yr aethent i garchar dros Grist, ac y byddent farw drosto cyn y gwadent ac y gadawent ef, eto, pan ddaeth dydd y profi, nis gallasant gymaint a gwylio un awr gydag ef; nid oedd ganddynt gymaint a llygaid i weled, na dwylaw chwaith i sychu ymaith chwys gwaedlyd Crist, megys yn Ioan vi. 15—17. Felly gwelwch wrth yr holl anghreifftiau rhagorol hyn, fod Crist yn aml mewn gweddi ddirgel. O! na byddai i ni yn feunyddiol osod ger ein bron yr esiampl ragorol hon, idd ei

chanlyn, a'i gwneuthur ein gorchwyl, ein gwaith, a'n nefoedd, i ysgrifenu ar ol y darlun bendigedig hwn a osododd Crist o'n blaen, sef, bod yn aml gyda Duw yn y dirgel. Yn ddiau, nid yw Crist'nogrwydd ddim arall ond efelychiad y natnr ddwyfol, treuliad dyn ei hun i ddelw Dduw, yn mha un y crewyd ef, mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd. Fe ddylai holl fywyd y Cristion fod yn arddanghosiad gweledig o Grist. Yr oedd gan y Cenhedloedd y dyb hon yn eu plith, (fel y dywed Lactantius) mai y ffordd i anrhydeddu eu duwiau oedd bod yn debyg iddynt. Yr wyf yn sicr mai y ffordd oreu i anrhydeddu Crist yw bod yn debyg i Grist: 1 Ioan ii. 6, "Yr hwn a ddywed ei fod yn aros ynddo ef, a ddylai yntau hefyd rodio, megys ag y rhodiodd ef." O! na byddai yr ysgrythyr fendigedig hon orphwys yn gynhes ar ein calonau. Crist yw yr haul, ac fe ddylai holl oriaduıau ein bywyd gael eu gosod wrth ddeial ei symudiadau. Crist sydd bortreiad y portreiadau; ac fe ddylai ei esiampl ef fod i ni yn lle miloedd o esiamplau. Nid yn unig ein braint, ond ein dyledswydd a'n gogoniant yw canlyn Crist yn ei holl rinweddau moesawl: esiamplau ereill ydynt anmherffaith a diffygiol; ond Crist sydd esiampl berffaith: ac o'i holl blant, y rhai gwynfydedicaf yw y rhai hyny sydd yn dyfod agosaf i'r cynllun hwn.

Hiliogabalus oedd yn caru ei blant yn well am eu bod yn tebygu iddo mewn pechod: ond y mae Crist yn caru ei blant yn fwy am eu bod yn tebygu iddo mewn santeiddrwydd. Mi a ddarllenais am rai ffynonau ag sydd yn cyfnewid lliw yr anifeiliaid a yfant o honynt, i liw eu dyfroedd eu hun, megys ag y cân Dubartis,—

Dwfr Cerona, Xanth, a Cephisus, wnant
Yn ddu, yn goch, yn wyn, y praidd a'u cant,
A dyfnder porphor, ffynnon Arab draw,
Wna ddefaid porphor trwy y wlad gerllaw.

Y mae Crist, yn ddiau, y fath ffynnon i bwy bynag a ymdrocha ynddi, ac i bwy bynag a yfo o honi, fel ei cyfnewidia i'r unrhyw ddelw, 2 Cor. iii. 18.

*Ond pa ham yr oedd ein Harglwydd Iesu gymaint mewn gweddi ddirgel? pa ham yr oedd efe mor aml gyda Duw wrtho ei hun!*

Yn 1af, Yr oedd er gosod anrhydedd a gwerth mawr ar weddi ddirgel; yr oedd er chwanegu a chodi pris y ddyledswydd hon. Y mae dynion wrth natur yn barod ac yn chwanog iawn i gynwys meddyliau isel a di-bris am weddi ddirgel. Ond Crist, trwy ymarferyd ei hun mor aml ynddi, sydd wedi gosod anrhydedd tragwyddol, a gwerth anmhrisiadwy arni. Ond

Yn 2il. Yr oedd efe yn fynych mewn gweddi ddirgel; yr oedd efe yn aml gyda Duw yn unig, fel na byddai yn cael ei weled gyda dynion, ac i ochelyd pob ymddangosiad o ddynol ganmoliaeth; yr hwn a orchymynodd i ni i "ymgadw rhag pob rhith drygioni." 1 Thes. v. 22. Ni fynai ei hun, pan yr oedd yma yn y byd, antnrio at yr ymddanghosiad lleiaf o ddrygioni. Yr oedd Crist yn ochelgar iawn rhag pob peth ag oedd yn ymddangos yn debyg i bechod; yr oedd yn ochelgar iawn rhag rhith a chysgod o falchder a gwag-ogoniant.

Yn 3ydd. I ochelyd attaliadau yn y ddyledswydd. Nid mantais fach yw dirgel fan i'r difrifol a'r bywiol weithredydd mewn gweddi ddirgel. Y mae attalfeydd a therfysgiadau oddi allan, lawer pryd yn farwor diffoddedig i weddi ddirgel. Ni wna y goreu o Grist'nogion ond gweithio yn drwsgl pan y cyfarfyddout ag attalfeydd yn eu gwasanaeth dirgel.

Yn 4ydd. I osod i ni y fath gynllun bendigedig ac esiampl rasol, fel na foddlonom ac na foddhaom ein hunain un amser gyda gweddiau cyhoeddus yn unig,

na chyda gweddïau teuluaidd yn unig, ond fel yr ymosodom ein hunain hefyd i weddi ddirgel. Nid oedd Crist yn wastad yn y cyhoedd, nac yn wastad yn y teulu, ond yr oedd yn aml yn y dirgel gyda Duw yn unig, fel y gallai, trwy ei esiampl ei hun, ein hannog ninnau i fod yn aml gyda Duw yn y dirgel; a dedwydd yw y rhai sydd yn sengu yn ol ei draed, ag sydd yn ysgrifenu ar ol ei rag-ysgrifen (*copy*) ef.

Yn 5ed. Fel y gallai ddangos i'n dealltwriaethau a'n cydwybodau ei fod ef ei hun y cyfiawnaf a'r ffyddlonaf Archoffeiriad. Yr oedd Crist yn ofalus ac yn ffyddlon ryfeddol yn nwy ran ei swydd offeiriadol, sef, iawn ac eiriolaeth; unig lefarwr dros ei bobl oedd. Oh! pa mor ddifrifol, pa mor ddiwyd oedd yn tywallt allan weddïau a dagrau, ocheneidiau a gruddfanau, dros ei bobl yn y dirgel, pan yr oedd yma yn y byd, Heb. v. 7. Ac yn awr y mae yn y nefoedd, ac y mae eto yn parhau i eiriol drostynt, Heb. vii. 25.

Yn 6ed. I'n hargyhoeddi fod ei Dad yn gwrandaw ac yn sylwi ar ein gwedddïau dirgel, ac yn costrelu i fyny ein holl ddagrau dirgel, ac nad yw ein dymuniadau, ein hymdrechiadau, ein hanadliadau, ein newyn, a'n syched dirgel yn ddyeithr iddo.

III. Ystyriwch mai eich cyson ymarfer mewn gweddi ddirgel yw yr hyn a'ch gwahaniaetha oddi wrth ragrithwyr, y rhai sydd yn gwneuthur yr oll ag y maent yn ei wneuthur i gael eu gweled gan ddynion: Math. vi. 1, 2. "Gochelwch rhag gwneuthur eich elusen yn ngwydd dynion, er mwyn cael eich gweled ganddynt: os amgen ni chewch dâl gan eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Am hyny pan wnelych elusen, na udgana o'th flaen, fel y gwna y rhagrithwyr, yn y synagogau, ac ar yr heolydd, fel y molianner hwy gan ddynion. Yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr." Hunan yw yr unig olew sydd yn gwneuthur i olwynion cerbyd y rhagrithwyr i ysgogi gyda gorchwylion crefyddol: adn. 5, "A phan weddi-

ech, na fydd fel y rhagrithwyr: canys hwy a garant weddio yn sefyll yn y synagogau, ac yn nghonglau yr heolydd, fel yr ymddanghosont i ddynion. Yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr:" adn. 16, "Hefyd, pan ymprydioch, na fyddwch fel y rhagrithwyr, yn wyneb drist: canys anffurfio eu hwynebau y maent fel yr ymddanghosont i ddynion eu bod yn ymprydio. Yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr." Fel hyn y gwelwch fod y rhagrithwyr hyn yn edrych mwy ar ddynion nag ar Dduw, yn eu holl ddyledswyddau. Pan y gwnaent elusenau, yr oedd yn rhaid iddynt udganu; pan weddient, yr oedd yn rhaid i hyny fod yn y synagogau, ac yn nghonglau yr heolydd; a phan ymprydient, yr oedd yn rhaid iddynt anffurfio eu hwynebau, fel yr ymddanghosent i ddynion eu bod yn ymprydio. Phariseaid ydynt yn byw ar fawl a chlodydd dynion. Naturiaethwyr a adroddant am y garreg Chelidonian, na cheidw ei rhinwedd ddim yn hwy nag y byddo yn amgylchedig mewn aur. Felly ni cheidw y rhagrithwyr eu dyledswyddau ddim yn hwy nag y porther ac yr annoger hwy gan glodydd dynion. Rhagrithwyr ydynt yn debyg i'r sér tanllyd, y rhai na ddysgleiriant ddim yn hwy, fel sêr sefydlog, nag y porther hwynt gan darth; ond sycher y tarth i fyny, ac yn y fan y diflanant, ac yr ant o'r golwg. Gwsanaeth ddirgel a noda allan y cyweirdeb mwyaf. Y mae efe yn gweddio gyda thyst ag sydd yn gweddio heb dyst. Po fwyaf cywir fyddo yr enaid, mwyaf i gyd y bydd yr enaid hwnw mewn gwasanaeth ddirgel, Job. xxxi. 33. Pa le y darllenwch yn yr holl ysgrythyr fod Pharaoh, neu Saul, neu Judas, neu Demas, neu Simon Magus, neu yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, un amser wedi tywallt allan eu heneidiau ger bron Duw yn y dirgel? Nid rhodfeydd cyffredin y rhagrithiwr yw gweddi ddirgel. Y mae achos mawr i ofni na bu enaid y dyn hwnw erioed yn uniawn gyda Duw, yr hwn sydd yn

cyflawni ei ddyledswyddau yn mhlith dynion, neu yn mhlith llawer: onide ni buasai ein Hiachawdwr, wrth dynu darlun y rhagrithiwr, byth yn dangos mai hyn oedd unig wawr ei wynebpryd, fel y gwna yn Math. vi. 5. Y mae yn eithaf amlwg fod Crist yn gorchymyn i'w ddisgyblion na byddent fel y rhagrithwyr; un peth yw *bod* yn rhagrithwyr, a pheth arall yw bod *fel* y rhagrithwyr. Ni fynai Crist i'w ddisgyblion i edrych yn debyg i ragrithwyr. Cywirdeb yn unig yw yr hyn a alluoga y dyn i wneuthur marsiandaeth o weddi ddirgel.

Wrth weddio, gyda lluaws, mae rhai pethau a eill hudo a chynhyrfu calon gnawdol, megys balchder, gwag-ogoniant, cariad at fawl, nen ymofyniad am enw. Y mae rhagrithiwr yn ei holl ddyledswyddau yn marsiando mwy am enw mawr nag am fywyd da, am air mawr nag am gydwybod dda; yn debyg i grythonwyr (*fiddlers*), y rhai sydd yn fwy gofalus am chwareu eu tônau nag am drefnu eu bywydau. Ond mewn gweddi ddirgel nid oes y fath farsiandiaeth i gael eu dwyn yn mlaen. Ond,

IV. Ystyriwch y gallwn ddadfynwesu ein heneidiau yn fwy rhydd, cyflawn, a diogel, i Dduw yn y dirgel, nag y gallwn yn ngwydd lluaws, neu ychydig. Oddi yma y mae gwr i alaru wrtho ei hun, a'r wraig wrthi ei hun, Zech. xii. 12, 13, 14; nid yn unig i ddangos gwirionedd eu tristwch, ond i ddangos eu cywirdeb trwy eu neillduaeth. Yr oeddynt yn galaru wrthynt eu hunain, fel na byddai eu pechodau yn ddatguddiedig nac yn amlygedig y naill i'r llall. Yma y maent yn ddidoledig, i ddangos nad oeddynt yn galaru er mwyn cyfeillach, ond am eu pechodau neillduol eu hunain, trwy ba rai y gwânasant ac y croeshoeliasant Arglwydd y gogoniant. Yn y dirgel, fe all y Cristion fyned i'r fath neillduolrwydd, ag na ddylai yn y cyhoedd gymaint a'i goffau. O! pa nifer o Grist'nogion a wrident ac a gywilyddient i rodio

yn yr heolydd, ac i gymdeithasu â phechaduriaid neu saint, pe byddai eu gwendidau, eu hysgelerderau, a'u drygioni, wedi eu hysgrifenu yn eu talcenau, neu yn adnabyddus i ereill, pa rai y maent yn eu rhydd a chyflawn amlygu i Dduw yn y dirgel? Y mae lluaws o bechodau y rhai y mae dynion wedi syrthio iddynt cyn troedigaeth ac wedi troedigaeth, pe eu hamlygid i'r byd, a'u gwnaent hwy eu hunain yn ddrewedig, crefydd i ddrewi, a'u proffes i ddrewi yn ffroenau pawb a'u hadwaenent. Ië, pe cai y drygioni hyny eu cyhoeddi ar benau tai, ag y mae lluaws yn euog o honynt cyn derbyn gras, neu wedi derbyn gras, pa fodd y petrusid Cristionogion gweiniaid, y gwangalonid rhai ieuainc yn ffyrdd Duw, yr agorid genau lluaws o gablwyr, y caledid calonau llawer o bechaduriaid yn erbyn yr Arglwydd, ei ffyrdd, a'i geryddon, a'r pethau a berthynant i'w heddwch? Ië, pa fodd y dadblygid lluman Satan, y cadarnheid ei deyrnas, y boddheid ac y boddlonid ef ei hun yn ddirfawr? Y mae yn drugaredd ac yn ddarostyngiad anfeidrol yn Nuw, i osod deddf o attaliad ar Satan, onidê, efe a fyddai y mwyaf tafod-rydd yn y byd: byddai yn llawenydd ac yn *fiwsic* iddo ef gael amlygu yn barhaus ffolinebau a gwendidau y saint.

Y mae Ambrose yn dwyn i mewn y diafol yn ymffrostio yn erbyn Crist, ac yn honi hawl yn Judas fel ei eiddo: "Nid dy eiddo di yw efe, Arglwydd Iesu, ond fy eiddo i; y mae ei feddyliau yn curo drosof fi; y mae yn bwyta gyda thi, ond yn cael ei borthi genyf fi; y mae yn cymeryd bara oddi wrthyt ti, ond arian oddi wrthyf fi; y mae yn yfed gyda thi, ond yn gwerthu dy waed i mi." Nid oes un pechod a gyflawna y saint, nad udganai Satan allan, pe rhoddai Duw ond caniatâd iddo. Nid oes un dyn ag sydd yn ei iawn bwyll, a amlygai i bob un ei wendidau, ei lithriadau, ei afiechyd, ei ddoluriau, a'i gystuddiau

corfforawl, ond i ryw berthynas agos, cyfaill mynwesol, neu feddyg galluog. Felly, nid oes un dyn ag sydd yn ei gyflawn synwyrau, a ddatguddiai i bob un, wendidau, llithriadau, afiechyd, doluriau, a chystuddiau ei enaid, ond i'r Arglwydd, neu i ryw berson neillduol, ag sydd yn ddoeth, yn ffyddlon, ac yn alluog i gyfranu rhyw beth er esmwythdra i'w enaid. Pe gwnai y Cristion ond amlygu a rhwygo yn agored i'r byd, yr oll o'i ffolineb a'i wagedd, pa mor resynol a gwawdiai ac y dirmygai rhai ef? a pha mor llym a chwerw y goganai ac y barnai ereill ef? Pan yr oedd Dafydd wrtho ei hun yn yr ogof, dyna y pryd y tywalltodd ei gŵyn ger bron Duw, ac y datguddiodd ei drallodau o'i flaen, Salm xlii. 3, 4. A phan yr oedd Job yn hollol wrtho ei hun, dyna y pryd y tywalltodd ei lygaid ddagrau ger bron Duw, Job xxx. 16. Nid oes dim enbydrwydd na pherygl wrth gyfaddef ein pechodau o flaen Duw, ond fe allai enbydrwydd a pherygl mawr fod o'u cyfaddef o flaen dynion.

V. Dyledswyddau dirgel a gânt wobrwyon cyhoedd, Mat. vi. 6: "A'th Dad yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg." Fe wobrwya Duw ei holl bobl mewn rhan yma, ac yn y byd a ddaw yn berffaith. Y mae yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei ddyfal geisio ef. Y rhai hyny a hauant mewn dagrau yn y dirgel, a fedant mewn gorfoledd yn y cyhoedd. Fe wobrwyir gweddi ddirgel yn yr amlwg o flaen dynion ac angylion. Mor gyhoedd y gwobrwyodd Duw Daniel oblegid ei weddi ddirgel, Dan. vi. 10, 23—28. Mordecai yn ddirgel a ddynoethodd gynllwyn y fradwriaeth yn erbyn y brenin Ahasferus, ac a wobrwywyd ar gyhoedd, Esther ii. 21, 22, 23, yn nghyda phenod vi. Darius, cyn iddo ddyfod i'r frenhiniaeth, a dderbyniodd wisg yn rhodd ddirgel gan un Syloson; a phan ddaeth i fod yn frenin, efe a'i gwobrwyodd yn gyhoedd a llywodraeth ei wlad Samus. Duw, yn y dydd mawr, a wobrwya ei holl bobl o flaen yr holl fyd, am bob

gweddi, ochenaid, a gruddfaniad dirgel a ddaeth oddi wrth ei bobl. Fe gyhoedda Duw, yn y dydd mawr, i ddynion ac angylion, mai aml y bu ei bobl yn tywallt allan eu heneidiau o'i flaen yn y fath a'r fath gonglau a dirgel fanau, ac efe a'u gwobrwya yn gyfatebol.

Gristionogion, pe credech yn ddiffuant, a phe ymorphwysech yn ddifrifol ar hyn, yn 1af, Chwi a rodiech yn fwy diolchgar; 2il, A weithiech yn fwy siriol; 3ydd, A ddyoddefech yn fwy amyneddgar; 4ydd, A ymdrechech yn erbyn y byd, y cnawd, a'r diafol, yn fwy calonog; 5ed, A osodech eich hunain allan dros Dduw, ei achos, a'i ogoniant, yn fwy rhydd; 6fed, A fywiolaethech gyda'r hyn a dorodd rhagluniaeth allan ar eich rhan, yn fwy tawel a diddig; 7fed, A chwi a fyddech yn fwy aml a helaeth mewn gweddi ddirgel.

VI. Ystyriwch fod Duw wedi amlygu ei hun yn fwyaf cyffredin i'w bobl, pan yr oeddynt wrthynt eu hunain o flaen gorsedd gras. O! y toddiadau melus, y gwresogiadau nefolaidd, yr arlwyadau bendigedig, y datguddiedigaethau gogoneddus, a'r cymundeb rhagorol, a gafodd Cristionogion pan wrthynt eu hunain gyda Duw yn y dirgel. Pa bryd y cafodd Daniel y weledigaeth a'r genadwri gysurlawn hono, y newyddion bendigedig hyny gan yr angel, ei fod yn anwyl iawn, ond pan yr oedd yn hollol wrtho ei hun mewn gweddi ddirgel? Daniel ix. 20, 21, 22, 23, "A mi eto yn llefaru, ac yn gweddïo ac yn cyffesu fy mhechod, a phechod fy mhobl Israel, ac yn tywallt fy ngweddi ger bron yr Arglwydd fy Nuw dros fynydd santaidd fy Nuw; ïe, a mi eto yn llefaru mewn gweddi, yna y gŵr, Gabriel, yr hwn a welswn mewn gweledigaeth yn y dechreuad, gan ehedeg yn fuan, a gyffyrddodd a mi yn nghylch pryd yr offrwm prydnhawnol. Ac a barodd *im'* ddeall, ac a ymddyddanodd a mi, ac a ddywedodd, Daniel, daethym yn awr allan

i beri it' fedru deall. Yn nechreu dy weddïau yr aeth y gorchymyn allan, a mi a ddaethum i'w fynegu *i ti:* canys anwyl *ydwyt* ti: ystyr dithau y peth, a deall y weledigaeth." Duw, trwy ei angel Gabriel, sydd yn datguddio iddo y cynghor dirgel, mewn perthynas i adferiad Jerusalem, a'r parhad o hono, sef hyd y Messiah; a thra yr oedd Daniel mewn gweddi ddirgel, yr ymddangosodd yr Arglwydd, ac mewn ffordd tra hynod y cadarnhaodd iddo ei fod yn ddyn anwyl iawn, neu fel y mae Hebraeg Chumudoth yn arwyddo, gwr y dymuniadau, h. y., gwr ag y mae dymuniadau Duw tuag ato, gwr anwyl odiaeth, ac yn uchel mewn ffafr gyda Duw. Y mae Duw yn llwytho adenydd gweddi ddirgel a'r bendithion pereiddiaf, rhagoraf, a gwerthfawrocaf. O! mor aml y cusanodd Duw y Cristion tylawd yn nechreuad ei weddi ddirgel, y llefarodd dangnefedd yn nghanol ei weddi, ac y llanwodd ef â goleuni, llawenydd, a sicrwydd ar y diwedd-glo. Ac felly y mae Cornelius yn cael ei fawr ganmol, a'i raslawn wobrwyo, ar gyfrif ei weddi ddirgel, Act. x. 1, 2, 3, 4, "Yr oedd rhyw wr yn Cesarea, a'i enw Cornelius, canwriad o'r fyddin a elwir yr Italaidd, *gwr* defosiynol, ac yn ofni Duw, yn nghyda'i holl dŷ, ac yn gwneuthur llawer o elusenau i'r bobl, ac yn gweddïo Duw yn wastadol. Efe a welodd mewn gweledigaeth yn eglur, yn nghylch y nawfed awr o'r dydd, angel Duw yn dyfod i mewn ato, ac yn dywedyd wrtho, Cornelius. Ac wedi iddo graffu arno, a myned yn ofnus, efe a ddywedodd, Beth sydd, Arglwydd? Ac efe a ddywedodd wrtho, Dy weddïau di a'th elusenau a ddyrchafasant yn goffadwriaeth ger bron Duw:" adn. 30, 31, "A Chornelius a ddywedodd, Er ys pedwar diwrnod i'r awr hon *o'r dydd* yr oeddwn yn ymprydio, (h. y. hyd dri o'r gloch y prydnawn,) ac ar y nawfed awr yn gweddïo yn fy nhŷ: ac wele safodd gwr ger fy mron mewn gwisg ddisglaer, ac a ddywedodd, Cornelius, gwrandawyd dy weddi di, a'th elusenau a ddaethant mewn coffa ger bron Duw." Nodwn, pan yr oedd ef yn gweddïo yn ei dŷ, wrtho ei hun yn unig,

gwr mewn gwisg ddisglaer, yr hwn oedd angel ar lun dyn, (adn. 3,) a ymddangosodd iddo, ac a ddywedodd, Cornelius, gwrandawyd dy weddi di; nid yw yn meddwl y weddi hono a wnaeth pan yr oedd yn ymprydio, ac yn ymostwng ger bron yr Arglwydd, adn. 30, 31; ond megys y mae adn. 2, 3, 4, yn dangos mai ei weddïau a wnaeth pan wrtho ei hun; o herwydd fe ymddengys nad oedd neb arall gydag ef y pryd hyny, o herwydd efe yn unig a welodd y gwr hwnw mewn gwisg ddisglaer, ac ato ef yn unig y cyfarchodd yr angel ei araeth bresenol, gan ddywedyd, Cornelius, gwrandawyd dy weddïau di, adn. 4, 31. Yma y gwelwch i weddïau dirgel Cornelius, nid yn unig gael gwrandawiad, ond eu caruaidd gofio, eu graslawn dderbyn, a'u gogoneddus wobrwyo.

Nid yn unig cofiwyd Cornelius y gweddïwr gan Dduw, ond hefyd ymwelwyd ag ef yn deimladwy ac yn eglur gan angel, a sicrhawyd iddo fod ei weddïau dirgel, a'i weithredoedd da, yn arogl, yn arogl peraidd, yn aberth cymeradwy a boddlongar gan Dduw. A pha bryd y cafodd Pedr ei weledigaeth, ond pan yr oedd wrtho ei hun yn gweddïo ar nen ei dŷ? Act. x. 9—13, "A thranoeth, fel yr oeddynt hwy yn ymdeithio, ac yn neshau at y ddinas, Pedr a aeth i fyny ar y tŷ i weddïo, yn nghylch y chweched awr. Ac fe ddaeth arno newyn mawr, ac efe a chwenychai gael bwyd. Ac a hwynt yn parotoi *iddo*, fe syrthiodd arno lewyg: ac efe a welai y nef yn agored, a rhyw lestr yn disgyn arno, fel llen llian fawr, wedi rhwymo ei phedair congl, a'i gollwng i waered hyd y ddaear: yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwarcarnolion y ddaear, gwylltfilod, ac ymlusgiaid, ac ehediaid y nef. A daeth llef ato, Cyfod, Pedr, lladd, a bwyta." Pan yr oedd Pedr ar y tŷ wrtho ei hun yn gweddïo, efe a syrthiodd mewn llewyg, ac a welodd y nefoedd yn agored; y codwyd ei ysbryd, y dyrchafwyd ei feddwl, ac y llanwyd holl gyneddfau ei enaid â dwyfol ddatguddiad. Felly pan yr oedd Paul wrtho ei hun mewn gweddi, efe a welodd mewn gweledigaeth wr a'i enw Ananias yn dyfod i

mewn, ac yn gosod ei law arno, fel y derbyniai ei olwg. A nid yn hir y bu mewn gweddi ddirgel, cyn y datguddiwyd iddo mai llestr etholedig oedd, a'i fod wedi ei lenwi â doniau, grasusau, a chysuron yr Ysbryd Glân. A phan yr oedd Ioan wrtho ei hun yn ynys Patmos, am air Duw a thystiolaeth Iesu Grist, (lle yr alltudiwyd ef gan Domitian, amherawdwr o'r creulonaf,) y cafodd olwg ogoneddus ar Fab y Dyn, a'r pryd hyny y datguddiodd yr Arglwydd iddo y dirgeledigaethau dyfnaf a dirgelaf, mewn perthynas i gyflwr presenol a dofodol yr eglwys, hyd ddiwedd y byd, pan yr oedd Ioan yn wylo (mewn gweddi ddirgel yn ddiau), y pryd hwnw yr agorwyd iddo y llyfr seliedig. Felly, pan yr oedd Daniel wrth weddi ddirgel, y danfonodd Duw genhadwr nefolaidd, a'i neges oedd, i agoryd iddo yr ysgrythyrau bendigedig yn fwy goleu a chyflawn. Y mae y wybodaeth gysurlawn ac anogaethol a gyrhaeddodd y dyn Duw hwn o'r blaen trwy ei aml a'i ddyfal fyfyrdod yn y gair, yn ei anog yn mlaen i weddi ddirgel; ac y mae gweddi ddirgel yn gyru (*posts*) angel o'r nef i roddi iddo oleuni mwy goleu a chyflawn. Gweddi ddirgel sydd allwedd euraidd i ddadgloi dirgeledigaethau y gair i ni. Nid yw y wybodaeth o lawer o wirioneddau gwerthfawr a bendigedig ddim amgen na dychweliadau gweddi ddirgel. Y mae y gair yn preswylio helaethaf yn nghalonau y rhai hyny sydd yn tywallt allan eu calonau fwyaf o flaen Duw yn eu hystafelloedd. Pan y gofynwyd i Bonaventure, y *doctor* saraphaidd hwnw, gan Aquinas, o ba lyfrau a chynorthwyadau yr oedd ef yn cael y fath ddywediadau a myfyrdodau santaidd a dwyfol? Efe a gyfeiriodd at groes, ac a ddywedodd, "*Iste est liber, &c.*" ("Pan yn blygedig mewn gweddi wrth draed y ddelw hon, y mae fy enaid yn derbyn mwy o oleuni o'r nefoedd nag oddiwrth bob myfyrdod na dadleuaeth.") Er fod hon yn draddodiad mynachaidd, ac yn ffug-chwedl goel-grefyddol, eto gall rhyw addysg gael ei thynu oddi wrthi. Yn ddiau y Cristion hwnw, y gweinidog hwnw, ag sydd yn gorwedd fwyaf mewn gweddi ddirgel wrth

draed Iesu Grist, a ddealla fwyaf o feddwl Crist yn yr Efengyl, gaiff i lawr fwyaf o'r nefoedd, a'r pethau a berthynant i'w heddwch wedi eu dwyn i lawr i'w enaid ei hun.

Nid oes yr un wasanaeth yn mha un y mae Cristionogion yn cael y fath gymundeb agos a chyfeillgar â Duw a hon o weddi ddirgel; nid oes yr un wasanaeth yn yr hon y mae Duw yn ymhyfrydu mwy i amlygu ei wirionedd a'i ffyddlondeb, ei ras a'i ddaioni, ei drugaredd a'i haelioni, ei degwch a'i ogoniant, i eneidiau tylodion, nag yn hon o weddi ddirgel. Yr oedd Luther yn cyffesu "Iddo ef enill mwy o wybodaeth yn yr ysgrythyrau trwy weddi ddirgel, mewn amser byr, nag a gafodd mewn mwy o amser trwy fyfyriaw;" megys y cafodd Ioan, wrth wylo yn y dirgel, agoriad o'r llyfr seliedig. Y mae gweddi ddirgel yn coroni Duw â'r anrhydedd a'r gogoniant sydd yn perthyn i'w enw; ac y mae Duw yn coroni gweddi ddirgel â datguddiad o'r gwirioneddau bendigedig a phwysfawr hyny i'w weision ag sydd fel llyfr seliedig i ereill. Yn ddiau y mae yr enaid yn arfer mwynhau y cymundeb mwyaf â Duw yn y dirgel. Pan y mae y Cristion mewn anialwch, (yr hwn le sydd anghyfanedd iawn,) y pryd hyny y mae Duw yn ymhyfrydu llefaru wrtho yn gysurol, ac wrth fodd ei galon: Hosea ii. 14, "Am hyny wele, mi a'i denaf hi, ac a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth fodd ei chalon," neu yn gysurol wrthi hi. Neu fel y mae yn yr Hebraeg, Mi a ddywedaf wrth ei chalon. Pan y caffwyf hi wrthi ei hun, medd Duw, mewn anialwch anghyfanedd, mi a ddywedaf y fath bethau wrth ei chalon a'i siriola, ac a'i llona yn ddirfawr, ac a wnaf hyd y nod ei chalon i lamu a dawnsio o'i mhewn. Pan y bydd y wraig wrthi ei hun, y mae y gwr yn cyfranu ei feddwl yn fwyaf rhydd wrthi: ac felly y mae Crist i'r enaid crediniol. O! yr ymweliadau dirgel! y sisial dirgel! yr arlwyadau dirgel! y seliadau dirgel! yr amlygiadau dirgel! y mae Duw yn ei roddi i'w bobl pan wrthynt eu hunain. Pan yr oedd Jeremiah wrtho ei hun yn ei ddaear-dŷ tywyll, y cafodd pethau mawr a rhyfeddol

eu dangos iddo, y rhai na wyddai am danynt. Yr oedd Ambrose yn arfer dywedyd, "Nid wyf byth yn llai wrthyf fy hun na phan y byddwyf yn hollol wrthyf fy hun; o herwydd y pryd hyny y gallaf fwynhau presenoldeb fy Nuw yn fwyaf rhydd, cyflawn, a melus, heb rwystr."

Dywediad tra melus a duwinyddol o eiddo Bernard oedd, "O sant! oni wyddost ti (ebai efe) fod Crist dy briod yn wylaidd, ac na bydd efe yn gyfeillachol mewn cymdeithas; gan hyny, ymneilldua trwy weddi a myfyrdod, i'th ystafell, neu y maesydd, ac yno y cai bresenoldeb Crist." Pendefiges, pan oedd wrth weddi a myfyrdod dirgel yn ei pharlawr, a gafodd y fath fwynhad melus, rhagorawl a chyflawn o Dduw, fel ag y llefodd allan, "O na bawn bob amser yn mwynhau y cymundeb melus hwn!"

Nid yw Crist yn caru datguddio ei hun idd ei ddyweddi mewn heol agored, gymaint ag mewn ystafell; ac yn ddiau ni chaiff yr enaid grasol byth olwg hyfrydach o ogoniant, na phan y mae yn fwyaf allan o olwg y byd. Y mae dynion call yn cyfranu eu rhoddion rhagoraf a gwerthfawrocaf, yn ddirgel; ac felly y mae Crist yn rhoddi idd ei *eiddo* y goreu pan y maent yn hollol unig. Ond am y cyfryw nad allant hebgor amser i ymofyn am Dduw yn y dirgel, y maent yn amlygu yn ddigonol mai ychydig yw eu cymdeithas, neu eu cyfeillach, ag ef, at yr hwn y maent mor anfynych yn dyfod.

VII. Ystyriwch mai amser y bywyd hwn yw yr unig amser at weddi ddirgel. Ni chaniata y nefoedd yr un weddi ddirgel. Yn y nefoedd ni bydd dim pechodau dirgel i'n trallodi ni; dim diffygiadau dirgel i'n poenydio *(pinch)* ni; dim maglau dirgel i'n dyrysu ni; na dim gelynion dirgel i'n disodli ni. Y mae genym achos byw llawer yn yr ymarferiad o'r ddyledswydd hono yma ar y ddaear, yr hon na chawn byth fod yn yr ymarferiad o honi ar ol angeu. Rhai dyledswyddau sydd yn gorphwys arnom yn awr, megys molianu, dyrchafu, ac ymhyfrydu yn Nuw, a fyddant yn gorphwys arnom byth yn

y nefoedd; ond bydd raid i ni gymeryd ein cenad oddi wrth y ddyledswydd hon o weddi ddirgel pan osodir ein penau i orwedd yn y llwch.

VIII. Ystyriwch fawr oruchafiaeth gweddi ddirgel. Gweddi ddirgel yw, *Ponta Cœli, Clavis Paradisi*,—*Porth y Nefoedd, Agoriad i'n gollwng i mewn i baradwys.* O! y pethau mawrion y mae gweddi ddirgel wedi eu gwneuthur gyda Duw! Y trugareddau mawrion a ennillwyd, a'r bygythion mawrion a drowyd o'r neilldu drwyddi hi: y barnedigaethau mawrion a symudwyd ac a rwystrwyd gan weddi ddirgel! Darllenais am wraig faleisus, yr hon a roddodd ei hun i'r diafol, os gwnai ddrwg i'w chymydog, yr hwn yr oedd hi yn ei farwol ffieiddio. Aeth y diafol eilwaith ac eilwaith i gyflawni ei neges; ond o'r diwedd efe a ddychwelodd ac a ddywedodd wrthi nas gallasai efe wneuthur dim niwaid i'r gwr hwnw, canys pa bryd bynag y deuai, yr oedd yn ei gael naill ai yn darllen yr ysgrythyrau, neu wrth weddi ddirgel. Y mae gweddïau dirgel yn trywanu y nefoedd, ac y maent yn gyffredin yn cael eu bendithio a'u llwytho â dychweliadau grasol a gogoneddus oddi yno. Pan yr oedd Hezeciah yn gweddïo ac yn wylo yn y dirgel, y danfonodd Duw y proffwyd Isaiah i sicrhau iddo fod ei weddi wedi ei gwrandaw, fod ei ddagrau wedi eu gweled, ac yr estynai efe at ei ddyddiau bymtheng mlynedd. A phan yr oedd Isaac wrtho ei hun yn y maesydd, yn myfyrio, yn gweddïo, ac yn ymddyddan à Duw am wraig dda, y cyfarfu a Rebecca. Felly Jacob, Gen. xxxii. 24—28: "A Jacob a adawyd ei hunan: yna yr ymdrechodd gwr ag ef nes codi'r wawr. A phan welodd na byddai drech nag ef, efe a gyffyrddodd a chyswllt ei forddwyd ef, fel y llaesodd cyswllt morddwyd Jacob, wrth ymdrech o hono ag ef. A'r angel a ddywedodd, Gollwng fi ymaith; oblegid y wawr a gyfododd. Yntau a atebodd, Ni'th ollyngaf oni'm bendithi. Hefyd efe a ddywedodd wrtho, Beth *yw* dy enw? Ac efe a atebodd, Jacob. Yntau a ddywedodd, mwyach ni elwir dy enw di Jacob.

ond Israel; oblegid cefaist nerth gyda Duw fel tywysog, a chyda dynion, ac a orchfygaist. Yma y cawn ddarluniad tlws o'r ornest (*duel*) a ymdrechwyd rhwng yr HOLLALLUOG a *Jacob;* ac oddiyma nodwn, yn

1af. Yr ymdrechwyr, Jacob a Duw, yr hwn a ymddangosodd ar ddull neu ymddangosiad dyn. Yr hwn y dywedir yma am dano mai gwr ydoedd, oedd Fab Duw ar ddull dynol, fel yr ymddengys wrth yr holl hanes, a chan Hosea xii. 3, 4, 5. Yn awr, y gwr hwn a ymdrechodd a Jacob oedd Duw yn ddiau, ac nid dyn, yr hyn sydd eithaf amlwg oddi wrth y rhesymau hyn,—

(1.) Y mae Jacob yn dymuno bendith ganddo, adn. 26. Yn awr, uchelfraint frenhinol o eiddo Duw yw bendithio, ac nid eiddo angylion na dynion.

(2.) Y mae yn ei alw wrth yr enw Duw, "Cefaist nerth gyda Duw, adn. 28. Ac, ebe Jacob, "Gwelais Dduw wyneb yn wyneb," adn. 30. Nid, fe welodd fawrhydi a hanfod Duw, oblegid nis gall neb weled gogoniant hanfodol Duw, a byw, Exod. xxxii. 20, 23: ond gwelodd Dduw yn amlycach ac yn ogoneddusach nag erioed o'r blaen. Rhyw lun crëedig, rhyw gip-olwg o ogoniant a welodd Jacob, trwy ba un y gwelodd Duw yn dda egluro ychwaneg o'i bresenoldeb digyfrwng, ond nid ei hunan.

(3.) Yr un person ag yr ymdrechodd Jacob ag ef, yw yr hwn y mae Jacob yn ei gofio (yn ei fendithiad) fel ei waredydd oddi wrth bob drwg, Gen. xlviii. 16. Y Duw hwnw oedd, a ymddangosodd iddo yn Bethel, pan ffôdd o wydd ei frawd, Gen. xxxv. 7.

(4.) Y mae Jacob yn cael ei geryddu am ei ymofyniad cywrain, neu am ofyn am enw yr angel, adn. 29, yr hyn sydd reswm neu ddangosiad goleu o'i fawrhydi, a'i ogoniant: y mae Duw uwch law pob tyb ac enw. Y mae Duw yn sylwedd goruwchsylweddol, ac yn ddealltwriaeth nad yw idd ei ddeall. Gofynwyd i un, Beth oedd Duw? Atebodd, "Fod yn rhaid iddo fod yn Dduw ei hun, cyn y gallasai adnabod Duw yn gyflawn." Yr ydym

yr un mor alluog i gynwys y môr mewn cragen rhython (*cockle*), ag ydym i gynwys yr Hollalluog (neu y *Nomen Majistativum* hwnw, fel y geiria Tertullian y peth). "Wrth olrhain ar ol Duw, (medd Chrysostom,) yr ydwyf fel dyn yn cloddio mewn ffynnon ddofn: yr wyf yn sefyll yma, ac y mae y dyfroedd yn ymgodi oddi arnaf; sefyll yr ydwyf acw, ac y mae y dyfroedd eilwaith yn ymgodi oddi arnaf." Yn yr ymdrech hwn, ni chewch un dyn yn ymdrechu ag un arall, nid un dyn yn ymdrechu ag angel crëedig, ond *dyn marwol, eiddil, a thylawd, yn ymdrechu â Duw anfarwol;* gwendid yn ymdrechu a nerth; bod *meidrol* a Bod *anfeidrol.* Er nad oedd gan Jacob ail, er ei fod wrtho ei hun yn hollol, er ei fod yn rhyfeddol orthrechadwy, er hyny y mae yn ymdrechu, ac yn cadw ei afael; a'r oll yn nerth yr hwn y mae yn ymdrechu ag ef.

2ail. Cewch y lle yr ymdrechasant, a hwnw oedd wrth rŷd Jabboc, adn. 22. (Hwn sydd enw nant neu afon, yn tarddu wrth Rabba, prif ddinas yr Ammoniaid, ac yn myned i'r Iorddonen islaw môr Galilea, Num. xxi. 24; Deut. ii. 37; Barn. xi. 13, 15; Deut. iii. 16.) Ni fwynhaodd Jacob erioed gymaint o bresenoldeb Duw, a'r pryd y gadawodd gymdeithas dynion. O! y cymundeb melus a gafodd Jacob gyda Duw, pan yr ymneillduodd oddi wrth ei deulu, a phan yn hollol wrtho ei hun gyda'i Dduw wrth rŷd Jabboc. Yn ddiau ni bu Jacob erioed yn llai wrtho ei hun na'r amser hwn, pan yr oedd yn hollol felly. Mae y saint yn aml yn cyfarfod a'r gwîn goreu, ac a'r meddyglynau (*cordials*) goreu, pan byddont yn hollol wrthynt eu hunain gyda Duw.

3ydd. Cewch amser yr ymdrech, a hyny oedd y nos. Pa amser o'r nos y dechreuodd yr ymdrech hwn, ni ddarllenwn yn un lle; ond parhaodd hyd doriad y dydd,—parhaodd hyd nes y cafodd Jacob y goreu ar yr angel. Pa sawl awr o'r nos y parhaodd yr ymdrech hwn, nis gall neb rhyw ddyn ddywedyd. Dyben Duw oedd na byddai neb yn edrychwyr nac yn dystion o'r ymdrech hwn, ond

Jacob yn unig; gan hyny y mae yn rhaid fod Jacob yn ymdrechu pan yr oedd ereill yn cysgu.

4ydd. Cewch sylfaen yr ymdrech, a hyny oedd ofn Jacob rhag Esau, a'i ddymuniad taer am fendith. Y mae Jacob yn ffoi at Dduw, fel na syrthiai o flaen dyn: nid oes y fath gysgod mewn tymhestl ag aden Duw. Y diogelaf, y dedwyddaf, a'r doethaf, yw yr hwn a rydd ei hun dan ddwyfol amddiffyniad; hyn a wyddai Jacob, am hyny y mae yn rhedeg at Dduw, fel ei unig ddinas noddfa. Yn yr ymdrech hwn, mynai Duw roddi heibio,—"Gollwng fi ymaith; oblegid y wawr a gyfododd," adn. 26; ond y mae Jacob yn dal gafael, ac yn dywedyd yn hyf yn ei wyneb, nas gollyngai nes y bendithiai ef. O! allu gweddi ddirgel! y mae ynddi fath o hollalluogrwydd; y mae yn caethiwo Duw, ac yn ei ddal fel carcharor; y mae yn rhwymo dwylaw yr Hollalluog: ïe, hi dyn drugaredd a bendith trwy drais o law y nefoedd ei hun. O! allu y weddi hono ag sydd yn gwneuthur dyn yn fuddugoliaethus ar y gallu mwyaf ac uchaf. Jacob, er ond dyn—dyn unig, dyn teithiol, dyn blinedig, ïe, ond pryf (ac yn hawdd ei fathru a'i sathru dan droed) ac nid gwr, eto, mewn gweddi ddirgel y mae mor nerthol fel y mae yn gorchfygu yr holl-nerthol Dduw, ac mor alluog fel y mae yn gorchfygu yr Hollalluog.

5ed. Cewch natur neu ddull yr ymdrech, a hyny yn allanol ac yn dufewnol, corfforol ac hefyd yn ysbrydol! Yr oedd trwy rym a chywreinrwydd; yr oedd trwy rym ei gorff yn gystal a thrwy nerth ei ffydd. Ymdrechodd nid yn unig ag ymdrechiadau ysbrydol, dagrau a gweddiau, Hosea xii. 4, ond a rhai corfforol hefyd, pan yr oedd Duw yn ei brofi ar y naill law, yr oedd ar y llaw arall yn ei ddal i fyny. Yn yr ymdrech hwn, fe osododd Jacob ar angel y cyfammad yn wirioneddol fraich ar fraich, ysgwydd at ysgwydd, troed wrth droed, ac arferasant bob rhyw ffyrdd a dyfais, megys y gwna dynion a ymdrechant y naill a'r llall. Y mae y gair Hebreig *abak*, a gyfieithir yma *ymdrechu*, yn arwyddaw cyfodi y

llwch; oblegid y rhai a ymdrechent gynt, nid yn unig a ymdrechent yn noeth, (fel yr arferid y pryd hyny,) ond hefyd a arferent daflu llwch y naill ar y llall, fel y gallent gael sicrach gafael. Y mae rhai yn casglu oddi wrth y gair hwn, *abak,* i Jacob a'r angel ffwdanu ac ymorchestu, a throi y naill at y llall nes iddynt chwysu eilwaith, oblegid cymaint yw ystyr y gair. Nid mewn cellwair yr ymdrechodd Jacob a'r angel, ond mewn dwys brysurdeb; ymdrechasant a'u hegni (fel pe buasai) am y goron; ymorchestasant am y fuddugoliaeth, fel am fywyd.

Ond fel yr oedd yr ymdrech hwn yn gorfforol, felly yr oedd yn ysbrydol hefyd. Yr oedd gweddïau Jacob, ei ffydd, a'i enaid, yn gafaelyd yn Nuw, Hosea xii. 4, 5. Arfau Jacob yn ddiau yn y filwriaeth hon oeddynt ysbrydol, yn benaf, ac mor nerthol trwy Dduw. Nid oes dim gorchfygu ar Dduw ond yn ei nerth ef ei hun Gwnaeth Jacob fwy trwy ei ffydd freninol nag a wnaeth trwy ei ddwylaw godidog, a mwy trwy ei wylo nag a wnaeth trwy ei chwysu, a mwy trwy weddïo nag a wnaeth trwy ei holl ymegniadau corfforol i gyd.

6fed. Cewch ganlyniad yr ymdrech, a hyny yw buddugoliaeth ar yr angel, adn. 28. Ymdrechodd Jacob yn mreichiau ac arfogaeth yr angel, ac felly y gorchfygodd ef; fel tywysog efe a orchfygodd yr angel trwy y gallu a gafodd oddi wrth yr angel. Yr oedd yr angel mor wirfoddol a chyflawn ewyllysgar i gael ei orchfygu gan Jacob, ag oedd ewyllys Jacob i fod yn orchfygwr. Pan y mae cariadon yn ymdrechu, y mae y cryfaf yn eithaf boddlon i gymeryd codwm gan y gwanaf, ac felly yr oedd yma. Y mae y tad wrth ymdrech a'i blentyn, yn eithaf ewyllysgar, er cysur a chalondid ei blentyn, i gymeryd codwm yn awr ac yn y man; ac felly yr oedd rhwng Jacob a'r angel yn yr achos presenol. Yn awr, yn yr hanes fendigedig hon, fel mewn gwydr grisialaidd, gellwch weled mawr nerth a ffyniant gweddi ddirgel; y mae yn gorchfygu y Gorchfygwr mawr; y mae mor hollalluog ag y gorchfyga yr hollalluog Dduw. Yn awr, y mae hyn yn cael ei

egluro yn gyflawn ac yn hyfryd yn Hosea xii. 3, 4; "Yn y groth y daliodd efe sawdl ei frawd, ac yn ei nerth y cafodd allu gyda Duw. Ie, cafodd nerth ar yr angel, a gorchfygodd; wylodd, ac ymbiliodd ag ef; cafodd ef *yn* Bethel, ac yno yr ymddyddanodd a ni." Pan yr oedd Jacob yn hollol wrtho ei hun, yn y tywyll nos, ac ond ar y naill goes, er hyny ymddygodd yn dywysogaidd gyda Duw. Yn ol yr Hebraeg,—Fe'i tywysogodd Jacob hi gyda Duw, trwy ei weddïau a'i ddagrau, fel ag yr aeth a'r fendith. Ymdrech Jacob oedd trwy wylo, a'i ffyniant trwy weddio. Y mae gweddïau a dagrau nid yn unig yn hyfryd iawn *gan*, ond hefyd yn dycianol iawn *gyda* Duw. Fel yma y gwelwch fod yr esiampl fawr hon o eiddo Jacob yn uchel lefaru am ffyniant gweddi ddirgel.

Gwelwch angraifft arall o hyn yn Dafydd, Salm vi. 6, 8, 9: "Diffygiais gan fy ochain; bob nos yr ydwyf yn gwneuthnr fy ngwely yn foddfa; yr ydwyf fi yn gwlychu fy ngorweddfa a'm dagrau." Y rhai hyn oll ydynt ymadroddion arddangosol, i osod allan fawredd ei ofid, a lliosogrwydd ei ddagrau. Yr oedd Dafydd yn gwneuthur lle ei bechod yn lle ei edifeirwch. Pob man a halogasom a phechod, a ddylem ei santeiddio a'i ddyfrhau a'n dagrau. Adn. 8: "Ciliwch oddi wrthyf, holl weithredwyr anwiredd: canys yr Arglwydd a glywodd lef fy wylofain. Dirgel ddagrau sydd ffynadwy iawn gyda Duw. Gall tad doeth a thyner, gael allan eisieu ac angenrheidiau ei blant yn well wrth eu dagrau dirgel, na thrwy eu crochlefain; wrth eu hwylo, na thrwy eu geiriau: ac a dybiwch chwi nad all Duw wneuthur yn ogymaint; Nid yw dagrau yn fudaniaid bob amser. "Crochlefa (ebe un,) nid a'th dafod, ond a'th lygaid; nid a'th eiriau, ond a'th ddagrau; oblegid dyna y weddi fwyaf effeithiol yn nghlistiau Duw mawr y nefoedd. Dagrau edifeirwch ydynt genadau anwadadwy, nad ydynt yn dychwelyd byth oddi wrth orsedd gras heb atebiad graslawn. Dagrau ydynt fath o weddïau dirgel, y rhai, er na ddywedant ddim, eto a gyrhaeddant fadd-

euant; ac er na ddadleuant achos dyn, eto a dderbyniant drugaredd oddi ar law Duw. Fel y gwelwch yn yr esiampl fawr o eiddo Pedr, yr hwn, er na ddywedodd ddim, (a ddarllenwn am dano,) eto, gan wylo yn chwerw dost, efe a gafodd drugaredd. Darllenais am Augustine, yr hwn, pan aeth fel ymwelydd i dŷ dyn claf, a welai yr ystafell yn llawn cyfeillion a cheraint, y rhai oeddynt oll yn ddystaw, ond i gyd yn wylo; y wraig yn igian, y plant yn ocheneidio, y ceraint yn cwynfan, ac oll yn galaru, ar hyn yr erfyniodd Augustine y saeth-weddi fer hon,—"Arglwydd pa weddi a wrandewi, os nid y rhai hyn?" Salm vi. 9: "Clybu yr Arglwydd fy neisyfiad: yr Arglwydd a dderbyn fy ngweddi." Y mae Duw weithiau yn ateb ei bobl cyn y gweddïont: Esay lxv. 24, "A bydd cyn galw o honynt, i mi ateb." Ac weithiau tra y maent yn gweddïo; felly y canlyn yn yr un adnod,—"Ac a hwy eto yn llefaru, mi a wrandawaf." Felly Esay xxx. 19,—"Gan drugarhau efe a drugarha wrthyt, wrth lef dy waedd, pan ei clywo, efe a'th ateb di." Ac weithiau ar ol gweddïo o honynt fel y gall profiad pob Cristion dystiolaethu. Weithiau nid yw Duw yn gwrandaw nac yn derbyn gweddi; a hyn yw coelbren a sefyllfa gyffredin yr annuwiol: Diar. i. 18; Job xxvii. 9; Esay i. 15. Weithiau y mae Duw yn gwrando gweddïau ei bobl, ond nid yw yn y fan yn eu hateb, fel gyda Paul, 2 Cor. xii. 7, 8, 9. Ac weithiau y mae Duw yn gwrandaw ac yn ateb gweddiau ei bobl, fel y gwnaeth yma a Dafydd. Yn awr, yn yr anghraifft hon o eiddo Dafydd, megys mewn drych, gellwch redeg a darllen ffyniant gweddi ddirgel neu ymneillduedig.

Gellwch gymeryd anghraifft arall o hyn yn Jonah: Jonah ii. 1, 2, 3, 5, 7, 10, "A Jonah a weddiodd ar yr *Arglwydd* ei *Dduw* o fol y pysgodyn, Ac a ddywedodd, O'm hing y gelwais ar yr *Arglwydd*, ac efe a'm hatebodd; o fol uffern y gwaeddais, *a* chlywaist fy llef. Ti am bwriaist i'r dyfnder, i ganol y môr; a'r llanw a'm hamgylchodd; dy holl donau a'th lifeiriant a aethant

drosof. Y dyfroedd a'm hamgylchynasant hyd yr enaid; y dyfnder a ddaeth o'm hamgylch; ymglymodd yr hesg am fy mhen. Pan lewygodd fy enaid ynof, cofiais yr *Arglwydd;* a'm gweddi a ddaeth i mewn atat i'th deml santaidd. A dywedodd yr Arglwydd wrth y pysgodyn, ac efe a fwriodd Jonah ar y tir sych." Pan oedd Jonah yn hollol wrtho ei hun, ac yn nghanol llawer o beryglon a marwolaethau; pan yn mol y morfil, ïe, yn mol uffern, eto y pryd hyny, gweddi ddirgel a'i cyrchodd oddi yno. Bydded peryglon dyn byth mor aml, neu byth mor fawr, eto y mae mewn gweddi ddirgel fath o hollalluogrwydd ac a'i gwareda o honynt oll. Yn lliosogrwydd cystuddiau y mae gweddi ddirgel yn fwyaf ffynadwy gyda Duw. Yn min boddi, ceidw gweddi ddirgel y pen a'r galon hefyd uwch law'r dwfr. Wrth weddi ddirgel Jonah y danfonodd Duw ei *arch-ysgrifen*, a'r pysgodyn a wasanaethodd yn lle llong i Jonah i'w hwylio yn ddiogel i draeth. Pan y byddo yr amgylchiad yn anobeithiol i'r eithaf, gall gweddi ddirgel, hyd yn nod y pryd hyny, wneuthur llawer gyda Duw. Y mae gweddi ddirgel o'r fath nerth ag yr egyr ddorau y Lefiathan, fel y gwelwch yn yr eaiampl fawr hon, yr hyn a gyfrifir yn anhawsdra mawr, Job xli. 14.

Cewch siampl arall o oruchafiaeth gweddi ddirgel yn 2 Bren. iv. 32—35: "A phan ddaeth Eliseus i mewn i'r ty, wele y bachgen wedi marw, yn gorwedd ar ei wely ef. Felly efe a ddaeth i mewn, ac a gauodd y drws arnynt ill dau, ac a weddïodd ar yr Arglwydd." Dirgelfa sydd gynorthwy da at wresogrwydd mewn gweddi ddirgel. "Ac efe a aeth i fyny, ac a orweddodd ar y bachgen, ac a osododd ei enau ar ei enau yntau, a'i lygaid ar ei lygaid yntau, a'i ddwylaw ar ei ddwylaw ef, ac efe a ymestynodd arno ef; a chynesodd cnawd y bachgen. Ac efe a ddychwelodd, ac a rodiodd yn y ty i fyny ac i waered; ac a aeth i fyny, ac a ymestynodd arno ef; a'r bachgen a disiodd hyd yn seithwaith, a'r bachgen a agorodd ei lygaid." O! allu, goruchafiaeth, a hollalluogrwydd

gweddi ddirgel, fel ag y mae yn cyfodi y meirw i fywyd. A'r un effaith oedd yn ngweddi ddirgel Elias wrth gyfodi mab y wraig weddw o Sarepta i fywyd, 1 Bren. xvii. 18—23. Mawr oruchafiaeth dirgel weddïau Moses a ellwch ei ddarllen yn yr ysgrythyrau hyn,—Num. xi. 1, 2: "A'r bobl, fel tuchanwyr, oeddynt flin yn nglustiau yr Arglwydd: a chlywodd yr Arglwydd *hyn;* a'i ddig a enynodd; a thân yr Arglwydd a gyneuodd yn eu mysg hwynt, ac a ysodd gwr y gwersyll. A llefodd y bobl ar Moses: a gweddïodd Moses ar yr Arglwydd; a'r tân a ddiffoddodd." Y mae Moses, trwy ei weddi ddirgel, yn llywodraethu ac yn goruwch-reoli gyda Duw: yr oedd mor nerthol gyda Duw mewn gweddi ddirgel, fel y gallai gael yr hyn a ddymunai. Felly Num. xxi. 7, 8, 9; Salm cvi. 23; Exod. xxxi 9—14, a xiv. 15, 16, 17. Gellwch weled yr un peth yn Nehemiah: Neh. i. 11, cym. â Neh. ii. 4—8. Felly, pan welodd Luther achos Duw a gwaith y diwygiad mewn mawr leihad, ac mewn perygl, efe a aeth i'w ystafell, ac ni adawodd ymdrechu â Duw nes iddo gael atebiad graslawn o'r nefoedd; ar hyn daeth allan o'i ystafell at ei gyfeillion, gan lamu a gorfoleddu, gyda *vicimus, vicimus,*—gorchfygasom, gorchfygasom, yn ei enau:—ar yr hwn amser y sylwyd i gyhoeddiad ddyfod oddiwrth Charles y pummed, na chai neb eu drygu mwyach am arddel yr efengyl. Ar amser arall, pan oedd Luther mewn gweddi ddirgel dros gyfaill claf iddo, (yr hwn oedd yn gysurlawn ac yn ddefnyddiol iawn iddo,) cafodd atebiad neillduol am ei adferiad: ar hyn yr oedd mor hyderus, fel y danfonodd air at ei gyfaill y byddai yn sicr o gael ei adferu; ac felly y bu. Yr un modd y gweddïodd Latimer am dri pheth: yn

1af. Am i'r Frenines Elizabeth gael ei dwyn i'r goron.

2il. Ar iddo yntau gael selio y gwirionedd â gwaed ei galon.

3ydd. Ar i'r efengyl gael ei hadferu unwaith yn chwaneg, yr hyn a erfyniodd gyda mawr daerineb ys-

bryd; ac yn yr hyn bethau ill trioedd y gwrandawodd Duw ef. Gorchymynodd *Constantine* ar idd ei luniau gael eu cerfio, nid fel yr Amherawdwyr yn eu safiad milwraidd, ond mewn agwedd gweddi, ar ei liniau, i arddangos i'r byd iddo enill mwy trwy weddi ddirgel nag mewn brwydrau cyhoedd.

Mr. Dodd a rydd hanes am amryw ddynion da a fu lawer gwaith gyda'r Arglwydd dros wraig ag oedd wedi ei meddiannu gan y diafcl, a'u bod yn methu llwyddo oll. O'r diwedd nodasant ddiwrnod o ympryd a gweddi, ar yr hwn amser daeth gwraig dylawd at ddrws yr ystafell lle yr oedd y gwaith wedi dechreu, ac a erfyniodd gael myned i mewn; ond am ei bod yn dylawd, ni chaniataent iddi ddyfod. Ar hyn aeth y wraig dylawd ar ei deulin tu cefn i'r drws, ac a ymofynodd â Duw mewn gweddi; ond nid yn hir y gweddïodd cyn i'r ysbryd drwg gynddeiriogi, rhuo, a gwaeddi allan yn y wraig feddiannedig, "Cymerwch ymaith yr hen wraig o'r tu cefn i'r drws, oblegid y mae yn rhaid i mi fyned ymaith; cymerwch yr hen wraig o'r tu cefn i'r drws, oblegid y mae yn rhaid i mi fyned ymaith." Ac felly, trwy weddïau yr hen wraig fe'i bwriwyd ef allan. Fel hyn y gwelwch, trwy yr esiamplau yma, fawr oruchafiaeth gweddi ddirgel. Y mae gweddi ddirgel fel cleddyf Saul a bwa Jonathan, nid yw byth yn dychwelyd yn waglaw; y mae yn taro y nôd; y mae yn enill y dydd ar Dduw; y mae yn trywanu muriau y nefoedd, er eu bod yn debyg i furiau Gaza, o haiarn a phres, Esay xlv. 2. O! pwy a all ddarlunio nerth araethyddol gweddi ddirgel.

XI. Ystyriwch mai dyledswyddau dirgel sydd yn brasau yr enaid fwyaf. Megys y mae prydiau dirgel o fwydydd yn gwneuthur cyrph breision, felly y mae dyledswyddau dirgel yn gwneuthur eneidiau breision; ac megys y mae masnachau dirgel yn dwyn i mewn gyfoeth mawr, felly y mae gweddïau dirgel yn cyfoethogi llawer mewn cyfoeth nefol ac ysbrydol. Gweddi ddirgel yw

agoriad ddirgel y nef, ag sydd yn datgloi holl drysorau gogoniant i'r enaid. Arfer Duw yw rhoddi y trysorau gwerthfawrocaf a'r trugareddau melusaf idd ei bobl pan yn eu hystafelloedd ar eu gliniau. Fel y mae y cywion yn cael cynhesrwydd trwy eisteddiad tŷn dan adenydd y iâr, felly yr adfywir, y meithrinir, ac y cryf heir grasusau y saint, trwy y dylanwadau dirgel a melus a ddaw ar eu heneidiau pan mewn dirgel gymundeb gyda'u Duw. Gweddi ddirgel a gyflawnir yn gydwybodol, yw agoriad ddirgel y nefoedd, ag a ddatglôdd y fath drysorau, a'r fath ddirgeledigaethau, ag y methodd gwybodaeth y diafol cyfrwysaf eu cael allan. Y moddion i gael y trysorau mwyaf, a'r trugareddau rhagoraf, yw gweddi ddirgel. Yn ddiau nid oes neb mor gyfoethog mewn profiadau graslawn a'r rhai sydd yn ymarferyd fwyaf mewn dyledswyddau dirgel. Salm xxxiv. 6: "Y tlawd hwn a lefodd, (ebe Dafydd,) a'r Arglwydd a'i gwaredodd o'i drallodau." Dafydd, gan gyfeirio ato ei hun, a ddywed wrthym iddo lefain, h.y., yn ddystaw, fel y gwnaeth Moses ar làn y Môr Coch, a Nehemiah yn ngwydd brenin Persia; a'r Arglwydd a'i gwaredodd o'i holl drallodau. Ac O! y fath chwanegiadau oedd y gwaredigaethau hyn at ei brofiad. O fy ngyfeillion, gwelwch, megys y gwna y gwlith tyner a ddisgyn ar noswaith ddystaw, i'r blodau a'r llysiau flodeuo a thyfu yn helaethach nag y gwna cawodydd o wlaw mawr a ddisgyna yn y dydd, felly y gwna gweddi ddirgel i beraidd flodau gras a santeiddrwydd dyfu a blodeuo yn yr enaid yn fwy nag y gwna holl amlwg, cyhoedd, a gweledig ddyledswyddau crefydd, y rhai a gynwysir yn rhy aml o haul a gwynt balchder a rhagrith.

Anwylyd, gwyddoch yr enilla anwylddyn yn y llys fwy yn aml trwy un amnaid ddirgel, trwy un deisyfiad dirgel gan ei dywysog, nag a enilla masnachwr neu farsiandwr mewn ugain mlynedd; felly, enilla y Cristion fwy yn aml trwy un amnaid ddirgel, trwy un deisyfiad dirgel gan Frenin y Breninoedd, nag a enilla llawer

ereill trwy hir farsiandio mewn dyledswyddau mwy cyhoedd crefydd. O feistriaid, cofiwch fod genym lawer mwy o fanteision i ymarferyd ein doniau a'n galluoedd mewn gweddi ddirgel, nag sydd genym yn y cyhoedd; oblegid yn y cyhoedd yn unig y clywwn ereill yn ymarfer eu galluoedd a'u doniau. Mewn dyledswyddau cyhoedd yr ydym yn fwy dyoddefgar; ond mewn dyledswyddau dirgel yr ydym yn fwy gweithredgar. Gan hyny, pa fwyaf yr ymarferom ein doniau a'n grasusau, mwyaf i gyd eu cryfheir ac eu cynyddir. Y mae pob gweithrediad yn cryfhau ymarferiadau. Pa fwyaf yr ymarferir â phechod, mwyaf i gyd eu cryfheir. Felly y mae gyda'n doniau a'n grasusau, pa amlaf eu hymarferir, mwyaf i gyd eu cryfheir. Ond—

X. Cymerwch lawer o bethau yn nghyd. Y mae gan bob Cristion ei bechodau dirgel, Salm xix. 12: "Pwy a ddeall ei gamweddau? Glanhâ fi oddiwrth fy meiau cuddiedig." Cuddiedig nid yn unig i ereill, ond iddo ei hun; ïe, y fath bechodau cuddiedig ag oedd yn tyfu oddi ar gamweddau nad oedd yn anadnabyddus o honynt. Y mae tuedd yn mhob dyn i gyfeiliorni, ac yna i fod yn anwybodus o'i gyfeiliornadau. Llawer o bechodau wyf yn eu gweled ynof fy hun, eb efe, a mwy ydynt nag a allaf eu cael allan; ïe, yr ydwyf yn tybied fod pechodau pob dyn uwch law ei gyfrif. Ni all y goreu, y doethaf, a'r santeiddiaf o ddynion yn y byd, roddi cyflawn a hollol gofrestr o'i bechodau. Pwy a ddeall ei gamweddau? Y mae i'r gofyniad hwn rym cadarnhad. Pwy? Neb; nis gall y perffeithiaf na'r gwirionaf o ddynion yn y byd. O gyfeillion! pwy a all gyfrif y dychymygion a'r tueddiadau pechadurus, neu y balchder, y cableddau, a'r rhagrith dirgelaidd; yr ymresymiadau atheistaidd, y grwgnachau, y dirmyg, y traha, a'r annghredu dirgelaidd a allai Duw ei roddi bob dydd yn erbyn yr enaid? Gwridai y goreu a'r santeiddiaf o ddynion ar y ddaear, pe cai ond ei bechodau dirgel bob dydd yn ysgrifenedig ar ei dalcen. Felly 1 Bren. viii. 38, "Pob gweddi,

pob deisyfiad, a fyddo gan un dyn, neu gan dy holl bobl Israel, y rhai a wyddant bawb bla ei galon ei hun." Pechod yw y pla mwyaf yn y byd, ond nid yw un amser mor beryglus a phan cyrhaeddo y galon. Pechodau dirgel fynychaf ydynt yn gorwedd agosaf i'r galon, y ffynonell o'r lle y cymerant gynaliaeth buan a pharhaus. Y mae pechodau dirgel cyn agosed at bechod gwreiddiol ag yw y diferion blaenaf i flaen y ffynonell. A chan mai pechod dirgel sydd yn gorwedd agosaf i'r galon, felly pob pechod dirgel yw pla y galon. Ac megys nad yw afiechyd dirgel idd ei agor o flaen neb, ond i physigwr doeth yn unig; felly nid yw ein pechodau dirgel, y rhai ydynt afiechyd dirgel ein heneidiau, gael eu hagoryd o flaen neb ond Physigwr mawr eneidiau yn unig, yr hwn sydd abl idd eu meddyginiaethu a'u maddeu. Megys ag y mae gan bob Cristion ei bechodau dirgel, felly y mae gan bob Cristion ei demtasiynau a'i angenion dirgel, 2 Cor. xii. 8. Ië, yn aml y mae ganddynt y fath anghenion neillduol a phersonol, ag nad oes gan un yn y gynulleidfa, na'r teulu, eu bath. Ac fel y mae ganddynt eu hangenion dirgelaidd, felly y mae ganddynt eu hofnau, eu maglau, eu trallodau, a'u amheuon dirgelaidd. Ac yn awr, y mae yr holl bethau hyn yn galw yn uchel ar bob Cristion i fod yn aml a dyfal mewn gweddi ddirgel.

XI. Ystyriwch fod gan Grist y serch a'r hyfrydwch mwyaf yn ngweddïau dirgel ei bobl: Can. ii. 14, "Fy ngholomen, yr hon wyt yn holltau y graig, yn lloches grisiau, gad i mi weled dy wyneb, gad i mi glywed dy lais: canys dy lais sydd beraidd, a'th olwg yn hardd." Y mae Crist yn sylwi ar ei ddyweddi pan yn holltau y graig; pan yr êl hi i'r gongl i weddïo, sylwa arni gydag hyfrydwch rhyfeddol, a chydag arwyddion neillduol o'i gariad. Nid oes dim yn fwy peraidd, hyfryd, a chroesawgar gan Grist na chyflawniadau dirgel ei bobl. Eu hanadliadau ydynt fel peraidd ganiadau iddo ef; eu gweddiau dirgel yn holltau y graig, neu dan y grisiau

ydynt fel perarogl-darth i Iesu. Y mae y ddyweddi yn ymneillduo i lochesau dirgel y grisiau, nid yn unig er diogelwch, ond hefyd er dirgelwch, fel y gallo hi yn rhyddach, heb ddrwg-dyb rhagrith, ddifynwesu ei hun i fynwes ei hanwylyd. Nid yw yr hyfrydwch mawr a gymer rhieni yn mloesgni a sisial dirgelaidd eu plant, yn ddim pan gystadlir ef a'r hyfrydwch hwnw a gymer Crist yn ngweddïau dirgel ei bobl. Gan hyny os dymunwch fod yn gyfeillion a dyrchafwyr hyfrydwch Crist, byddwch yn aml mewn gweddi ddirgel.

XII. Ystyriwch, mai chwi yw yr unig ddynion yn y byd ag y gwnaeth Duw ddewisiad o honynt i ddatguddio ei gyfrinach iddynt: Ioan xv. 15, "Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision; oblegyd y gwas ni ẁyr beth y mae ei Arglwydd yn ei wneuthur; ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid pob peth ar a glywais gan fy Nhad, a hysbysais i chwi." Pob peth a gyfranodd Duw Dad i Grist, fel cyfryngwr, idd eu datguddio i'w weision, a eglurodd efe i'w ddisgyblion, megys idd ei gyfeillion mynwesol. Y mae Crist yn caru ei bobl fel cyfeillion, y mae yn eu cymeryd fel cyfeillion, ac y mae yn agor ei galon iddynt fel cyfeillion. Nid oes dim yn nghalon Crist ag a berthyn i leshad tufewnol a thragwyddol ei gyfeillion, ar na ddatguddia iddynt; y mae yn datguddio ei hun, ei gariad, ei dragwyddol ewyllys da, dirgelwch y ffydd, a dirgeledigaethau ei gyfammod, i'w gyfeillion. Nid yw Crist yn caru cynal ei bobl ef â phethau a adnabyddir yn gyffredin ac yn sathredig. Datguddia ddirgeledigaethau ei fwriadau; ei gariad, ei feddyliau, ei galon, a'i arfaethau, i'w holl gyfeillion mynwesol. Nï allasai Samson guddio ei gyfrinach na'i feddwl rhag Dalilah, er i hyny gostio ei fywyd iddo: ac a feddyliech chwi y gall Crist guddio ei feddwl a'i gyfrinach oddi wrth y rhai hyny y rhoddodd ei fywyd drostynt? Na all yn ddiau. O feistriaid! y mae Crist, 1. Yn gyfaill cyffredinol. 2. Yn gyfaill hollnerthol a hollalluog; nid llai na dengwaith ar ugain y gelwir ef Hollalluog yn

llyfr Job; gall wneuthur uwch law pob darluniadau, a thu hwnt i bob amgyffrediadau. 3. Y mae yn gyfaill hollwybodol. 4. Cyfaill holl bresenol. 5. Cyfaill anfethadwy. 6. Cyfaill anymddibynol. 7. Cyfaill annghyfnewidiol. 8. Cyfaill gwyliadwrus. 9. Cyfaill tyner a thosturiol. 10. Y mae yn gyfaill agos a ffyddlon. Gan hyny, nis gall lai nag egluro a dadfynwesu ei hun idd ei holl gyfeillion mynwesol. Bod yn ddystaw a mudan sydd eithaf croes i ddeddf cyfeillgarwch. Y mae cyfeillion ffyddlon yn dra rhydd i gyfranu eu bwriadau, eu meddyliau, a'u cyfrinachau, y naill i'r llall. Nid yw gwir gyfaill yn cyfrif dim yn werth ei adnabod oddieithr iddo ei egluro i'w gyfeillion. Geilw Job ei gyfeillion, "Cyfeillion tufewnol," neu, "ei gyfrinachwyr," Job xix. 19. Y mae holl gyfeillion Crist yn gyfeillion tumewnol, hwy yw ei gyfrinachwyr: Diar. iii. 32, "Gyda'r rhai uniawn y mae ei gyfrinach ef: h. y., ei gyfammodol a'i dadol serch, yr hwn sydd yn nghudd ac yn ddirgel oddi wrth y byd. Yr hwn sydd uniawn yn y dirgel, lle nad oes neb yn gweled, hwn yw yr uniawn, i'r hwn y cyfrana Duw iddo ei gell-gyfrinach, fel idd ei anwylaf fynwesol gyfaill. I gyfaill mynwesol yn unig y dadfynweswn ein hunain, megys Salm xxv. 14, "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant, a'i gyfammod i'w cyfarwyddo hwynt."

Yn awr, y mae tri math o ddwyfol gyfrinachau.

Yn 1. Cyfrinach rhagluniaeth, ac i'r uniawn a'r rhai sydd yn ei ofni, y datguddia efe y pethau hyn. Llefara y proffwyd Amos am y cyfrinachau hyn o rhagluniaeth: Amos iii. 7, "Canys ni wna yr Arglwydd ddim ar nas dangosa ei gyfrinach i'w weision y proffwydi." Micah a wybu gyfrinach yr Arglwydd am Ahab, pan na wybu Zedeciah, na neb arall o'r gau-brophwydi. Felly yn Gen. xviii. 17, "A'r Arglwydd a ddywedodd, A gelaf fi rhag Abraham yr hyn a wnaf?" Dinystr Sodom oedd gyfrinach ag oedd yn gorwedd yn mynwes Duw, ond gan fod Abraham yn gyfaill mynwesol, cyfranodd Duw iddo

y gyfrinach hon. Cyfaill oedd Abraham, a chyfaill ffyddlon, a chyfaill trwy neillduoldeb, ac am hyny gwnaeth Duw ef yn un o'i lys a'i gynghor. O! gymaint y mae Duw yn ymddarostwng at ei bobl; y mae efe yn llefaru wrthynt fel y llefara gwr wrth ei gyfaill, ac nid oes dim cyfrinach rhagluniaeth, yr hon a fyddai er lles iddynt, a'r nas datguddia i'w weision ffyddlon. Megys y mae gan gyfeillion ffyddlon oll, yr un cyfeillion, a'r un gelynion, felly y maent yn cyd-gyfranu eu cyfraniadau y naill i'r llall, ac felly yr oedd rhwng Duw ac Abraham.

Yn 2. Cyfrinach ei deyrnas, a'r pethau hyn a ddatguddia i'w bobl: Math. xiii. 11, "Am roddi i chwi wybod dirgelion teyrnas nefoedd, ac ni roddwyd iddynt hwy." Felly Math. xi. 25, "Yr amser hwnw yr atebodd yr Iesu, ac y dywedodd, I ti yr ydwyf yn diolch, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u datguddio o honot i rai bychain." "Na fe ddyliwn (medd Jerôm) fod yr efengyl yn ngeiriau yr ysgrythyr yn unig, ond yn y synwyr; nid yn y tu allan, ond yn y mêr; nid yn nalenau geiriau, ond yn ngwreiddyn rheswm." Dymunodd Augustin yn ostyngedig gan Dduw, O rhyngai bodd yn ei olwg i ddanfon Moses ato, i esbonio rhai rhanau mwyaf tywyll a dyrys yn llyfr Genesis. Y mae llawer o wirioneddau ac athrawiaethau rhagorol, peraidd, a dirgelaidd, yn yr efengyl, y rhai a ddatguddia Crist i'w bobl, ac y mae y byd tylawd, tywyll, ac anwybodus hwn yn ddyeithr iddynt. Y mae llawer o ddirgeledigaethau wedi eu plygu i fyny yn ngwirioneddau ac athrawiaethau egluraf yr efengyl, y rhai na all neb eu hegluro a'u datguddio, ond Ysbryd yr Arglydd, "yr hwn sydd yn chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd." Y mae llawer o ddirgeledigaethau dirgel yn yr efengyl, y rhai na all holl ddysgeidiaeth a llafur y byd roddi i ddyn olwg dufewnol arnynt. Y mae llawer yn adwaen athrawiaeth a hanes yr efengyl, ag sydd yn hollol ddyeithriaid i ddirgeledigaethau yr efengyl. Y mae gallu, awdurdod, effeithiol-

deb, goruchafiaeth, daioni, a phereidd-dra dirgelaidd yn yr efengyl, na phrofodd neb o honynt ond y rhai y gwelodd yr Arglwydd yn dda rhoddi gwybod dirgelion yr efengyl iddynt: Esay xxix. 11, 12, "Selia'r gyfraith yn mysg fy nisgyblion." Y mae cyfraith Duw i'r drygionus yn llyfr seliedig, ac ni allant ei ddeall, Dan. xii. 9, 10. Papur wedi ei dduo yw, ac na allent ei ddarllen. Ac megys y mae llythyr dirgel at gyfaill yn cynwys materion dirgel, na all neb arall ei ddarllen, oblegid ei fod wedi ei selio: felly y mae cyfraith gras yn seliedig dan sel ddirgel y nef, fel na all neb ei agor na'i ddarllen ond cyfeillion ffyddlon Crist, i'r rhai y danfonwyd ef. Nid yw yr holl ysgrythyr (medd Gregory) ond un llythyr cyflawn a ddanfonwyd oddi wrth yr Arglwydd Crist idd ei ddyweddi ar y ddaear. Dywed y Rabbiniaid fod pedair o agoriadau gan Dduw dan ei wregys. 1. Agoriad y cymylau. 2. Agoriad y groth. 3. Agoriad y bedd. 4. Agoriad yr ymborth. A gallaf finnau chwanegu y pummed agoriad ag sydd dan ei wregys, a hòno yw, Agoriad yr ysgrythyr, yr hon ni all neb ei throi ond yr hwn sydd ganddo "agoriadau Dafydd, yr hwn sydd yn agoryd, ac nid yw neb yn cau; ac yn cau ac nid yw neb yn agoryd," Dat. iii. 7.

O feistriaid! datguddia Duw ei hun, ei feddwl, ei ewyllys, a'i wirionedd i'w bobl mewn modd mwy caruaidd a chyfeillgar nag a wna i ereill: Luc viii. 10, "Yntau a ddywedodd, I chwi y rhoddwyd gwybod dirgeloedd teyrnas Duw: eithr i ereill ar ddammegion; fel yn gweled na welant, ac yn clywed na ddeallant." Er y gall doctoriaid mawrion, ysgolheigion treiddgar, a duwinyddion dwfn-fyfyrgar, ond ansantaidd, wybod llawer o athrawiaethau yr efengyl, a chymeryd poen mawr i addurno a thrwsio i fyny yr athrawiaethau hyn â blodeu areithyddeg a hyawdledd, eto byddai yn llawer gwell i roddi y gwir yn ei symlrwydd genedigol, na chrogi ei glustiau â ffugiol berlau, (y gair heb addurniadau dynawl sydd fel y gareg Garamantiaidd (math o garbwncl) a dyferion o aur

ynddo ei hun yn ddigon i gyfoethogi yr enaid crediniol), ond y mae yr wybodaeth neillduol, ysbrydol, alluogol, ac achubol, o athrawiaethau yr efengyl, yn gyfrinach, yn ddirgelwch, ïe, yn ddirgelwch cuddiedig iddynt.

Chrysostom sydd yn cymharu dirgelwch Crist, gyda golygiad ar y drygionus, i lyfr ysgrifenedig, yr hwn ni all yr anllythyrenog ei ddarllen, na'i sillebu; y mae yn gweled y clawr, y dalenau, a'r llythyrenau, ond nid yw yn deall synwyr yr hyn y mae yn ei weled. Cymhara ef ddirgelwch gras i epistol traethedig yn cael edrych arno gan ffol-geni anfedrus, nas gall ei ddeall; gŵyr mai papur ac inc yw, eithr y synwyr nis dealla. Felly y mae dynion ansantaidd, er yn ddysgedig iawn, ac er yn canfod rhisgl dirgelwch Crist, eto nid ydynt yn deall dirgelwch gras, meddwl tumewnol yr ysbryd yn yr ysgrythyrau bendigedig. Er fod y diafol yr ysgolhaig mwyaf yn y byd, ac er yn fwy dysgedig na holl ddynion y byd, eto y mae miloedd o ddirgelion a dirgeledigaethau yn efengyl gras nad yw yn eu hadwaen yn wirioneddol, yn ysbrydol, yn deimladol, yn effeithiol, yn awdurdodol, yn hollol, nac yn achubol. Eithr yn awr y mae Crist yn egluro ei hun, ei feddwl, ei ras, a'i wirionedd i'w bobl, mewn modd mwy goleu, cyflawn, caredig, a chyfeillgar: 2 Sam. vii. 27, "Canys ti, O Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, a *ddatguddiaist* i'th was," felly y darllenwch yn eich llyfrau chwi; ond yn Hebraeg fel hyn, "Arglwydd, datguddiaist hyn i glust dy was." Yn awr y mae'r pwys yn gorwedd ar y gair *clust*, yr hwn a adewir allan yn eich llyfrau chwi. Pan y mae Duw yn hysbysu ei hun i'w bobl, dywed bethau yn eu clust, fel yr arferwn ni wneuthur i gyfaill, yr hwn sydd gu genym, trwy ddywedyd peth yn ei glust. Y mae llawer cyfrinach ag a lefara Iesu Grist yn nghlustiau ei weision, ac ni ddaw ereill byth i adnabyddiaeth o honynt: 2 Cor. iv. 6, "Canys Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, *yw* yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau, i

roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist."

Y mae y chwech gradd gwahanol sydd yn yr adnod hon yn deilwng o'n sylw manylaf. Yn 1af, Gwybodaeth. 2il. Gwybodaeth gogoniant Duw. 3ydd. Goleuni gwybodaeth gogoniant Duw. 4ydd. Llewyrchu. 5ed. Llewyrchu yn ein calonau. Ac, 6fed. Llewyrchu yn ein calonau yn ngwyneb Iesu Grist.

Fel hyn y gwelwch fod yr Arglwydd yn datguddio ei ddirgelwch ei hun, ei deyrnas, ei wirionedd, ei ras, a'i ogoniant i'w saint. Ond—

3. Cyfrinach ei ffafr, cyfrinach ei neillduol gariad ag y mae yn ei ddal tuag atynt, a'r rhai hyn yw y cyfrinachau mawrion hyny, y dyfnion bethau Duw hyny, na all neb eu datguddio ond Ysbryd Duw. Yn awr, y cyfrinachau mawrion yma, y dyfnion bethau yma, mae Duw yn eu datguddio i'w bobl trwy ei Ysbryd, 1 Cor. ii. 10, 11, 12: "Eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd: canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth; ïe, dyfnion bethau Duw hefyd. Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn, ond ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef? felly hefyd, pethau Duw, nid edwyn neb, ond Ysbryd Duw. A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr ysbryd sydd o Dduw; fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Yn awr, pa rai yw y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw, ond ein hetholedigaeth, galwedigaeth, cyfiawnhad, santeiddhad, a gogoneddiad? A phaham y rhoddodd Duw i ni ei Ysbryd, ond fel yr adwaenem y pethau a rad-roddwyd i ni ganddo? Y mae rhai yn deall wrth ddirgelwch, yn Salm xxv. 14, rhyw sicrwydd neillduol o ffafr Duw, trwy yr hyn y sicrheir i ni ddedwyddwch am amser ac i dragwyddoldeb. Deallant wrth ddirgelwch, seliad yr ysbryd, y manna cuddiedig, y garreg wen, a'r enw newydd ynddi, yr hwn nid edwyn neb ond yr hwn sydd yn ei dderbyn. Y mae y geiriau hyn, "Ei gyfammod hefyd i'w cyfarwyddo," (Saes., "A ddengys iddynt ei gyfammod,") y mae yn

debygol yn arwyddo cyn gymaint. Canys pa gyfrinach fwy a all Duw ei gyfranu idd ei bobl, na hono o agoriad y cyfammod gras iddynt, yn ei radlonedd, cyflawnder, sicrwydd, pereidd-dra, addasrwydd, tragwyddolrwydd, ac yn seliad i fyny ei ewyllys da, a holl fendithion ysbrydol y cyfammod iddynt? Y cyfryw a garant ac a wasanaethant yr Arglwydd, a gânt fod o'i gyfrin-gyngor; cânt wybod dirgeledigaeth ei galon, a chaniateir iddynt ddyfod i gymdeithas a cyfeillgarwch tra graslawn ag ef ei hun. Ioan xiv. 21, 22, 23: "Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i: a'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy nhad i: a minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo. Dywedodd Judas wrtho, (nid yr Iscariot,) Arglwydd, pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr dy eglurhau dy hun i ni, ac nid i'r byd? Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Os car neb fi, efe a geidw fy ngair; a'm Tad a'i car yntau, a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Bydd Duw a Christ yn agos atynt, ac a eglurant gyfrinachau eu cariad i'r rhai hyny sydd yn ystyriol o'u gorchymynion. Ac fel hyn y gwelwch mai y saint yw yr unig ddynion i'r rhai y datguddia Duw ddirgeledigaethau ei ragluniaeth, dirgeledigaethau ei deyrnas, a dirgeledigaethau ei gariad iddynt. Daeth Crist allan o fynwes ei Dad, ac y mae yn agoryd holl gyfrinachau ei Dad, *yn unig* idd ei gyfeillion mynwesol. Yn awr, pa anrhydedd tra uchel yw i Dduw agor dirgeledigaethau ei gariad, dirgeledigaethau ei addewidion, dirgeledigaethau ei ragluniaethau, dirgeledigaethau ei fwriadau, a dirgeledigaethau ei gyfammod i'w bobl.

Ni thybiai Tiberius Cæsar neb yn addas i wybod ei gyfrinachau ef. Yn mhlith y Persiaid nis gallai neb ond pendefigion, arglwyddi, a duciaid, fod yn gyfranogion o gyfrinachau y llywodraeth; yr oeddynt yn cyfrif dirgelwch yn fath o Dduwdod, yn beth dwyfol, fel y cadarnha Ammittanus Marcellinus. Eithr yn awr gosododd Duw ar ei holl saint y fath anrhydedd a'u gwneuthur

yn arglwyddi a phendefigion, a'r unig gyfrin-lywodraethwyr yn llys y nefoedd. Yr anrhydedd a'r gogoniant uchaf a all tywysogion daearol ei roddi ar eu deiliaid, yw cyfranu iddynt eu cyfrinachau mwyaf. Yn awr, yr anrhydedd a'r gogoniant uchel hwn a osododd Brenin y breninoedd ar ei bobl; "Canys ei ddirgelwch sydd gyda'r rhai a'i hofnant, a'i gyfammod i'w cyfarwyddo hwynt." Yr oedd yn anrhydedd mawr i Eliseus ei fod yn medru dywedyd y cyfrinachau ag oedd yn cael eu llefaru yn ystafell-wely y brenin. O! pa fath anrhydedd raid ei fod, ynte, i'r saint wybod y cyfrinachau sydd yn cael eu llefaru yn mhreswylfa Brenin y breninoedd!

Yn awr, appeliaf at gydwybodau pawb sydd yn ofni yr Arglwydd, ai nid yw yn beth uniawn, cyson, cyfiawn, ac angenrheidiol i bobl Dduw osod yn rhydd ac yn gyflawn holl ddirgeledigaethau eu calonau yn agored o flaen yr Arglwydd, yr hwn fel hyn a'i hanrhydeddodd mor fawr a datguddio dirgeledigaethau ei ragluniaeth, ei deyrnas, a'i ffafr iddynt? Ië, appeliaf at bob Cristion syml a chywir, ai ni fyddai yn erbyn goleuni a deddf natur, yn erbyn rhwymyn cariad, a deddf cyfeillgarwch, i fod yn ddystaw ac yn fud, ïe, i gelu ein cyfrinachau oddi wrtho ef, yr hwn sydd yn datguddio ei gyfrinachau mwyaf a rhagoraf i ni? Ac os ydyw, paham, ynte, na wnewch yn y dirgel osod yn agored eich holl bechodau, eisieu, dymuniadau, ofnau dirgel, &c., i'r hwn ag sydd yn gweled yn y dirgel? Gwyddoch mai yn y dirgel yn unig y mae pob dirgeledigaethau i gael eu cyfranu; nid neb ond ynfydion o'r mwyaf a gyfrana gyfrinachau ar chwareufa, neu o flaen lluaws. Ond—

XIII. Ystyriwch mai gweddi ddirgel yw bwyd a diod y Cristion; mewn amseroedd o gyfyngderau a phrofedigaethau mawrion, mewn amseroedd o gystuddiau ac erledigaethau mawrion, ei brif ddinas noddfa yw, ei gysgod a'i ymguddfa ar ddydd tymhestlog yw. Pan y cafodd y saint eu gyru gan erledigaethau oreulon i dyllau, ogofeydd, ffauau, diffeithleoedd, ac anialwch udgar,

gweddi ddirgel fu eu bwyd a'u diod, a Christ eu hunig noddfa. Pan ddaeth Esau allan gyda bwriadau gelynol yn erbyn Jacob, gweddi ddirgel oedd noddfa Jacob, Gen. xxxii. 6—9, 11 : "A'r cenadau a ddychwelasant at Jacob, gan ddywedyd, Daethom at dy frawd Esau ; ac y mae efe yn dyfod i'th gyfarfod di, a phedwar cant o wŷr gydag ef."—Yn wddf-dorwyr oll.—" Yna Jacob a ofnodd yn fawr, a chyfyng oedd arno : ac efe a ranodd y bobl *oedd* gydag ef, a'r defaid, a'r eidionau, a'r camelod, yn ddwy fintai ; ac a ddywedodd, Os daw Esau at y naill fintai, a tharaw hono, yna'r fintai arall a fydd ddiangol." —Pan y mae yr oll mewn perygl, callineb Cristionogol yw i ni achub yr hyn a allom, er na allwn achub yr hyn a ddymunem.—" A dywedodd Jacob, O Dduw fy nhad Abraham, a Duw fy nhad Isaac, O Arglwydd, yr hwn a ddywedaist wrthyf, Dychwel i'th wlad, ac at dy genedl, a mi a wnaf ddaioni ti ! "—Y mae yn rhaid gweddïo yr addewidion drosodd yn y dirgel. Y mae Duw yn caru cael ei gwyno ar ei ysgrifen-rwym ei hun, pan y mae efe a'i bobl yn unig —" Achub fi, atolwg, o law fy mrawd, o law Esau : oblegyd yr ydwyf fi yn ei ofni ef, rhag dyfod o hono a'm taraw, *a'r* fam gyda'r plant ; " neu ar y plant, gan arwyddo, y rhoddai bawb i farwolaeth. Edrych rhai ar y geiriau fel trawsymddwyn wedi eu cymeryd oddiwrth adarwyr, y rhai a laddant ac a gymerant y rhai ieuainc yn nghyda'u mamau, yn wrthwyneb i'r hen ddeddf hono, Deut. xxii. 6. Dywed ereill mai ymadrodd yw ag sydd yn y dull bywiocaf yn gosod allan dynerwch mam, yr hon, pan welo ei phlant mewn cyfyngder, nad arbed ei chorff neu ei bywyd ei hun i beryglu y cyfryw er cadwraeth ei phlant, trwy gyfrwng-osod ei hun, hyd yn nod i gael ei chigyddio yn nghyd, gyda ac arnynt hwy. Pan yr oedd Jacob a'r oll ag oedd yn agos ac yn anwyl ganddo, mewn perygl o gael eu tori ymaith yn fuan gan Esau, a'r dynion gwaedlyd hyny ag oedd gydag ef. Y mae efe yn ymosod i weddi ddirgel, megys ei unig ddinas noddfa yn erbyn

cynddaredd a malais y galluog. Felly pan oedd Jeremiah mewn daear-dŷ unig a ffiaidd: gweddi ddirgel oedd ei fwyd a'i ddiod, ei unig ddinas noddfa oedd: Jer. xxxiii. 1, 2, 3, "Gair yr Arglwydd hefyd a ddaeth at Jeremiah yr ail waith, (ac efe eto yn garcharor yn nghyntedd y carchar-dŷ,) gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD, yr hwn a'i gwnaeth, yr ARGLWYDD, yr hwn a'i lluniodd i'w sicrhau, yr ARGLWYDD *yw* ei enw: galw arnaf, a mi a'th atebaf, ac a ddangosaf i ti bethau mawrion a chedyrn (neu guddiedig), y rhai nis gwyddost." Pan oedd Jeremiah mewn carchar unig a ffiaidd, anogodd Duw ef i ofyn trwy weddi ddirgel am ragor o amlygiadau a datguddiedigaethau o'r cymwynasau neillduol a rhagorol hyny, pa rai a fwriadodd, mewn amser dyfodol roddi i'w bobl. Felly 2 Cron. xxxiii. 11—13, "Am hyny y dug yr Arglwydd arnynt hwy dywysogion llu brenin Assyria, a hwy a ddaliasant Manasseh mewn dyrysni, ac a'i rhwymasant ef â dwy gadwyn, ac a'i dygasant ef i Babilon. A phan oedd gyfyng arno ef, efe a weddïodd ger bron yr Arglwydd ei Dduw, ac a ymostyngodd yn ddirfawr o flaen Duw ei dadau, ac a weddïodd arno ef: ac efe a fu foddlon iddo, ac a wrandawodd ei ddymuniad ef, ac a'i dug ef drachefn i Jerusalem i'w freniniaeth. Yna y gwybu Manasseh mai yr Arglwydd oedd Dduw." Pan oedd Manasseh mewn cadwyni, yn ngwlad ei elynion, pan y diosgwyd ef o'i holl ogoniant tywysogaidd, ac wedi ei ddwyn yn gaeth i Babilon, efe a ymosododd ei hun i weddi ddirgel, fel ei unig ddinas noddfa; a thrwy y moddion hyn efe a lwyddodd gyda Duw am ei adferiad i'r goron a'r freniniaeth. Gweddi ddirgel sydd fath ddinas noddfa na all yr un gallu, cyfrwysdra, creulondeb, na grym, byth fod yn alluog i'w gorchfygu. Er i gyd-weddïau pobl Dduw *yn nghyd* gael eu rhwystro a'u hattal yn aml yn amser y deg erledigaeth, eto nid oeddynt yn abl i rwystro neu attal gweddi *ddirgel*. Wedi i ddynion a diafliaid wneuthur eu gwaethaf, bydd pob Cristion yn alluog i

gynal ei fasnach ddirgel a'r nefoedd. Cysgoda gweddi ddirgel y Cristion rhag holl ystormydd a thymhestloedd gwladwriaethol, teuluaidd, a phersonol, ag a allai ei frawychu. Pan y mae dyn yn gorwedd ar glaf-wely yn unig, neu mewn carchar yn unig, neu gyda Job wedi ei adael ar y domen, er yn unig, neu gyda Ioan wedi ei alltudio am dystiolaeth Iesu i'r ynys hon neu hon acw, yn unig, O! yna gweddi ddirgel fydd ei fwyd a'i ddiod, ei gysgod, ei ymguddfa, ei nefoedd. Pan fetho pob masnach arall, y fasnach hon o weddi ddirgel a ddeil yn dda.

XIV. Ystyriwch fod Duw yn holl-bresenol. Nis gallwn fyned i un man dirgel heb fod gan yr Arglwydd lygad yno, Math. vi. 6: "A'th Dad yr hwn a wel yn y dirgel a dâl i ti yn yr amlwg." Felly adn. 18. Nid oes lle yn y byd i ba un yr ymlusga sant, heb fod gan yr Arglwydd lygad tosturiol yno. Nid oes ar Dduw byth eisieu llygad i weled ein dagrau dirgel, na chlust i glywed ein llefau a'n griddfanau dirgel, na chalon i ganiatau ein herfyniadau dirgel; gan hyny, dylem dywallt allan ein heneidiau iddo yn y dirgel, Salm xxxviii. 9: "O'th flaen di, Arglwydd, y mae fy holl nymuniad; ac ni chuddiwyd fy ucheneid oddi wrthyt." Er i'n dymuniadau dirgel fod mor gymysgedig, er i'n herfyniadau dirgel fod mor ddrylliedig, ac er i'n gruddfanau dirgel fod mor guddiedig ag y byddont oddi wrth ddynion, er hyny, Duw a'u llygeidia hwynt, cofrestra hwynt, a gesyd hwynt ar gofrestr y nef, ac a'u corona ryw ddydd âg atebion a dychweliadau gogoneddus. Nis gallwn ocheneidio allan weddi yn y dirgel heb iddo ein gweled; nis gallwn ddyrchafu i fyny ein llygaid tuag ato ganol nos, heb iddo ein canfod. Y llygad ag sydd gan Dduw ar ei bobl pan y maent yn y dirgel, sydd y fath lygad tyner a neillduol o gariad, fel yr egyr ei glustiau, ei galon, a'i law er eu daioni, 1 Pedr iii. 12: "Canys y mae llygaid yr Arglwydd ar y rhai cyfiawn, a'i glustiau ef tuag at eu gweddi hwynt." Pe byddai eu gweddïau mor

egwan ag na allent gyraedd cyfuwch a'r nefoedd, yna gostyngai Duw y nefoedd, a disgynai at eu gweddïau. Y mae llygad Duw ar bob ochenaid ddirgel, pob grudd-faniad dirgel, pob deigryn dirgel, pob dymuniad dirgel, pob dyhëad dirgel o gariad, pob anadliad dirgel yr enaid, a phob toddiad a gweithrediad dirgel y galon; y rhai oll a ddylent ein hannog i fod yn aml mewn dyledswydd-au dirgel ac mewn gwasanaeth ystafellol. Megys nad yw y Cristion byth o gyraedd llaw Duw, felly nid yw byth allan o olwg llygad Duw. Os na all y Cristion guddio ei hun rhag yr haul, yr hwn yw gweinidog goleuni Duw, pa mor anmhosibl fyddai iddo guddio ei hun oddi wrth yr hwn sydd a'i lygaid ddeng mil o weithiau yn ddysgleiriach na'r haul? Yn mhob ddyledswydd ddirgel, y mae y Cristion dan lygad hollwybodaeth Duw. Pan yr ydym yn y lle tywyllaf, y mae gan Dduw ffenestri i'n dwyfron, ac yn nodi gweithrediadau dirgel ein dyn oddi mewn. Nid yw llygaid Duw yn cael eu cyfyngu i'r lle hwn neu arall, neu i'r gymdeithas hon neu honacw. Y mae gan Dduw lygad ar ei bobl yr un fath pan y maent yn unig a phan y maent yn mhlith lluaws; cystal pan y maent mewn congl a phan y maent mewn torf. Cafodd teml Diana ei llosgi i lawr pan yr oedd hi yn ddiwyd wrth enedigaeth Alexander, ac nis gallasai fod mewn dau fan ar unwaith. Ond y mae Duw yn bresenol yn Mharadwys ac yn yr anialwch hefyd; yn y teulu ac yn yr ystafell hefyd; yn y cyhoedd ac yn y dirgel hefyd, ar yr un pryd. Duw sy Dduw hollbresenol; y mae efe yn mhob man: megys nad yw wedi ei gyfyngu i un man, felly nid yw wedi ei gau allan o un man: Jer. xxiii. 24, "A lecha un mewn dirgel-leoedd, fel nas gwelwyf fi ef? medd yr Arglwydd." Diar xv. 3, "Yn mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd, yn canfod [yn myfyrio ar, fel y gellir ei ddarllen yn Hebraeg] y drygionus a'r daionus." Yn awr, myfyrio ar sydd fwy na chanfod yn unig; canys myfyrdod wedi ei chwanegu at ganfyddiad sengl, a rydd

radd ddyfnach o wybodaeth, gan dreiddio i dumewn y mater; ac felly y barna Duw fwriad tufewnol y galon, a gweithrediad dirgelaf yr ysbryd. Duw sydd Fôd anfeidrol ac annherfynol, a'i ganolbwynt yn mhob lle, ac nid yw ei gylchedd (*circumference*) yn un man. Yn awr, os yw Duw yn hollbresenol, yna, pa le bynag y byddom, y mae Duw yn bresenol gyda ni. Pe baem mewn carchar yn unig, gyda Joseph, y mae Duw yn bresenol gyda ni yno; neu pe baem mewn alltudiaeth yn unig, gyda Dafydd, yno y mae Duw gyda ni; neu pe baem yn unig yn ein hystafelloedd, y mae Duw yn bresenol gyda ni yno. Y mae Duw yn ein gweled yn y dirgel, gan hyny ceisiwn ei wyneb yn y dirgel. Er mai y nefoedd yw ei lys, eto nid ei garchar yw. Ond—

XV. Yr hwn a esgeulusa weddi ddirgel, yn wirfoddol, yn ddiau *a esgeulusir yn ei weddi gyhoedd.* Yr hwn ni eilw ar Dduw yn y dirgel, a gaiff wybod, trwy brofiad gresynol, na wna Duw na gwrando na sylwi arno yn y cyhoedd. Diffyg o ddyledswyddau dirgel yw y rheswm mawr paham y mae calonau cynifer mor farw a swrth, mor ffurfiol a chnawdol, mor sych ac anffrwythlon dan ordinhadau cyhoedd. O na wnai Cristionogion ddwys osod hyn at eu calon! Calon y dyn hwnw, yn ddiau, sydd oreu yn y cyhoedd, yr hwn sydd amlaf yn y dirgel; y rhai sydd yn ennill fwyaf mewn ordinhadau cyhoeddus, yw y rhai sydd fwyaf cydwybodol yn ymarfer â dyledswyddau dirgel. Nid yw gras neu brofiad neb yn cyfodi mor uchel, nid yw cymundeb neb gyda Duw a dwyfol fwynhad yn cyfodi cyfuwch, na gorlanwadau neb o gysuron neu ddyddanwch yn cyfodi mor uchel a'r eiddynt hwy, y rhai sydd yn dsygwyl yn gydwybodol wrth Dduw yn y dirgel cyn dysgwyl wrtho yn nghynulleidfa ei bobl, y rhai, pan ddychwelont o ordinhadau cyhoeddus, a ymneillduant i'w hystafelloedd, ac a edrychant tua'r nef am fendith ar foddion cyhoeddus. Dilys yw, fod dyledswyddau dirgel yn addasu yr enaid i ordinhadau cyhoeddus. Yr hwn sydd yn gwneuthur cydwybod o

ddysgwyl wrth Dduw yn y dirgel, a gaiff wybod trwy brofiad y gwna Duw fendithio ordinhadau cyhoeddus yn rhyfeddol iddo. Nid fy nyben yw dyrchafu un ordinhad o eiddo Duw uwchlaw y llall, na gosod un ordinhad o eiddo Duw ar ffordd y llall,—y gyhoeddus yn erbyn y ddirgel, na'r ddirgel yn erbyn y gyhoeddus; ond fod i bob ordinhad gael ei huniawn a'i phriodol le ei hun. Dymuniad fy enaid yw prisio a mawrhau pob ordinhad, ymarferyd pob ordinhad, dyrchafu pob ordinhad, a bendithio yr Arglwydd am bob ordinhad. Ond megys y dymunech bob amser weled gogoniant a phrydferthwch Duw yn ei gysegr, megys y dymunech bob amser gael ordinhadau cyhoeddus i fod yn hyfryd ac yn fywiog i'ch eneidiau, megys y dymunech bob amser gael eich hysbrydoedd prudd wedi eu bywhau, eich heneidiau nychlyd wedi eu hadfywio, eich grasusau gweiniaid wedi eu cryfhau, eich llygredigaethau cryfion wedi eu gwanhau, dan ordinhadau cyhoeddus, byddwch yn fwy gofalus a chydwybodol yn y cyflawniad o ddyledswyddau ystafellol. O pa mor gadarn mewn gras! mor fuddugoliaethus ar bechod! mor farw i'r byd, mor fyw i Grist! mor addas i fyw! ac mor barod i farw, y gallasai llawer Cristion fod, pe buasai yn fwy aml, syml, a chydwybodol yn y cyflawniad o ddyledswyddau dirgel! Nid am fy mod yn meddwl fod gwirionedd yn y dywediad hwnw o eiddo Bede, (os deallir y gair *eglwys* yn iawn,) sef, Y caiff yr hwn na ddaw yn ewyllysgar i'r eglwys, fyned ryw ddydd yn anewyllysgar i uffern. Ond—

XVI. Ystyriwch fod yr amseroedd ag yr ydym yn byw ynddynt yn uchel alw am weddi ddirgel. Uffern sydd fel pe byddai wedi ei gollwng yn rhydd, a dynion wedi eu troi i ddiafliaid wedi ymgnawdoli; drygioni tirddinystriol ac enaid-ddamniol sydd yn rhodio i fyny ac i waered ar hyd yr ystrydoedd, gyda thalcen puteinwraig, heb y rhwystr neu yr attaliad lleiaf: Jer. iii. 3, "A thalcen putein-wraig oedd i ti, gwrthodaist gywil-

yddio." Jer. vi. 15, "A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra? nid oedd arnynt hwy ddim cywilydd, ac ni fedrent wridio." Pechasant ymaith gywilydd, yn lle cywilyddio am bechod. Ymarferiad mewn pechod a alltudiodd yn hollol bob synwyr a chywilydd am bechod, fel na oddefent i natur dynu ei gorchudd o wrido dros eu ffieidd-dra erchyll. Yr oeddynt yn debyg i Caligula, (Amherawdwr drygionus,) yr hwn a arferai ddywedyd nad oedd yn caru dim yn well ynddo ei hun na hyny, sef na fedrai gywilyddio. Ail-adroddir yr un geiriau yn pennod viii. 12. Pa mor gymhwysiadol yw yr ysgrythyrau hyn i'r amseroedd presenol, gadawaf i'r darllenydd doeth farnu. Ond pa beth a wna y proffwyd yn awr, pan yr oeddynt mor hyf mewn pechod, ac mor ddigywilydd a chynifer o butein-iaid? Hyny a ellwch ei weled yn Jer. xiii. 17, "Ond oni wrandewch chwi hyn, fy enaid a wyla mewn lleoedd dirgel (neu guddfeydd) am eich balchder; a'm llygaid a wylant yn dost, (Hebraeg,—gan wylo a wylant, gan dywallt dagrau a dywalltant ddagrau: y mae dybliad y ferf yn arwyddo yr alarnad chwerw a phoenus a fedrai ei wneuthur drostynt,) ac a ollyngant ddagrau." Yn awr yr oeddynt wedi tyfu i'r fath uchder o bechod a drygioni, fel yr oeddynt uwchlaw pob cywilydd a gor-uchwyledd; yn awr yr oeddynt wedi tyfu mor falch, caled, a chyndyn, mor wrthryfelgar, ac mor ynfyd mewn drygioni, fel na allai dim trugareddau eu toddi na'u denu, na dim bygythion neu farnau eu brawychu na'u hattal hwynt; y proffwyd a ymneillduai ei hun i'r lleoedd mwyaf dirgel, ac yno yr wylai yn chwerw dost, fel pe buasai yn penderfynu boddi ei hun yn ei ddagrau ei hun. Pan y cyfyd ffynnonau galar yn uchel, try y Cristion ei gefn ar gymdeithas, ac a ymneillduа ei hun i leoedd o'r fath ddirgelaf, fel y gallo, yn fwy rhydd a chyflawn, ollwng ei ofid a'i alar o flaen yr Arglwydd. Och! Brydain, pa falchder, gloddest, trythyllwch, penrhydd-did, anllad-rwydd, meddwdod, creulonderau, annghyfiawnder, gormes,

puteindra, godinebau, anwiredd, rhagrith, budr-wobraeth, didduwiaeth, erchyll gableddau, ac uffernol annuwiolderau, sydd yn awr idd eu cael yn afreolus yn dy ganol di! Och! Brydain, Brydain, pa fodd yr halogir Sabbothau yr Arglwydd, y dirmygir ordinhadau pur, y gwrthodir yr ysgrythyrau, y gwrthwynebir ac y gwawdir yr Ysbryd, y difenwir y cyfiawn, y cefnogir drygioni, a thrwy yr ymarferiadau melldigedig hyn, yr ail-groeshoelir Crist lawer mil o weithiau yn y dydd! Och! Brydain, Brydain, pe buasai byw ein cyn-dadau, mor athrist y gwridasent wrth weled y fath genedlaeth erchyll a diadgenedlig, ag sydd idd eu cael yn dy ganol di! Pa fodd y mae lletygarwch ein henafiaid wedi ei droi i rysedd a gloddest, eu cynildeb i falchder ac anfradlondeb, eu symlrwydd i gyfrwysdra, eu cywirdeb i ragrith, eu tosturi i greulondeb, eu diweirdeb i drythyllwch ac anlladrwydd, eu sobrwydd i feddwdod, eu masnach didwyll i dwyll, eu gweithredoedd o dosturi i weithredoedd o ormesiad, a'u cariad at bobl Dduw i eithaf gelyniaeth yn erbyn pobl Dduw! A pha beth yw llais yr holl ffieidd-dra llefgar hyn, ond galwad ar bob Cristion i'w ystafell, ac wylo yno (gyda Jeremiah wylofus) yn chwerw dost am yr holl ffieidd-derau mawrion hyn, trwy ba rai y dianrhydeddir Duw ar gyhoedd? O! wylwch yn y dirgel am bechodau y rhai ag sydd yn cyhoeddus ymffrostio yn eu pechodau, pa rai a ddylai fod eu cywilydd mwyaf. O! gwridwch yn y dirgel drostynt hwy ag sydd tuhwnt pob gwrido am eu pechodau eu hunain; canys pwy a ŵyr nad ymdery yr holl wlad yn well er mwyn ychydig sydd yn alarwyr yn y dirgel? Ond pa fodd bynag yr el gyda'r genedl, gall y cyfryw a alarant yn y dirgel am ffieidddra yr oes, gwbl gredu pan y del barnau dysgybol ar y wlad, y gwna yr Arglwydd eu cuddio yn ystafelloedd dirgel ei ragluniaeth. Efe a esyd nôd dirgel o waredigaeth ar dalcenau y rhai a alarant yn ddirgel am bechodau llefgar y dydd hwn, megys y gwnaeth ar yr eiddynt hwy yn Ezec. ix. 4, 5, 6.

XVII. Ystyriwch fod y berthynas anwyl ac agos ag yr ydych yn sefyll ynddi rhyngoch a'r Arglwydd, yn uchel alw am weddi ddirgel. Chwi yw ei gyfeillion. Yn awr, y mae gwir gyfaill yn caru ymweled â'i gyfaill, pan y gallo ei gael wrtho ei hun, ac i fwynhau dirgelfa gydag ef. Y mae gwir gyfaill yn caru tywallt allan ei galon i fynwes ei gyfaill, pan y caiff ef mewn congl, neu yn y maes, neu dan berth. Chwi yw ei rai anwyl; a pha anwylyd sydd a guddia ei gyfrinach rhag ei dywysog? Onid ydyw yr holl rai anwyl (*favourites*) yn agor eu calonau i'w tywysogion, pan wrthynt eu hunain? Chwi yw ei blant; a pha blentyn doeth sydd a'r nad ymhyfryda fod gyda'i dad, pan y mae wrtho ei hun, pan nad oes neb yn agos? O! mor rhydd ac agored y mae plant, pan y caffont eu rhieni yn unig, yn rhagor i'r hyn ydynt pan y byddo tyrfa yn bresenol. Chwi yw dyweddi Crist, a pha ddyweddi, pa wraig y sydd, nad yw yn caru bod gyda'i phriod pan y mae wrtho ei hun? Cywir garwyr ydynt oreu bob amser pan y byddont fwyaf unig: Can. vii. 10—12, "Eiddo fy anwylyd ydwyf fi, ac ataf fi y mae ei ddymuniad ef. Dyred, fy anwylyd, awn i'r maes, a lletywn yn y pentrefydd. Bore-godwn i'r gwinllanoedd; edrychwn a flodeuodd y winwydden, a agorodd egin y grawnwin, a flodeuodd y pomgranadau: yno y rhoddaf fy nghariad i ti." Y mae dyweddi Crist yn mawr ddymuno mwynhau ei gyfeillach ef yn y maesydd, fel, trwy gael ei hanwylyd wrtho ei hun, y gallo hi yn fwy rhydd ac yn fwy dirgel agor ei chalon iddo. Megys y mae gwragedd yn fwy rhydd i agoryd eu meddyliau a chyfrinachau eu calonau, pan y maent yn rhodio gyda'u gwŷr yn unig yn y maesydd, nag y maent pan yn eu tai, gyda'u plant a'u gwasanaethwyr oddi amgylch iddynt, felly yr oedd gyda'r ddyweddi. Y mae yn ddiamau fod gan y rhai hyny achos mawr i amau pa un a ydynt yn gyfeillion, hoffedigion, plant, neu yn ddyweddi i Grist, y rhai nad ydynt ond anfynych, neu byth, yn cymdeithasu â Christ yn eu hystafelloedd, y rhai sydd yn ddigyfeillach

â Christ pan wrthynt eu hunain, a'r rhai nad ydynt byth yn ymarferyd eu hunain i roddi i Grist ymweliadau dirgel. Beth a ddywedodd Dalilah wrth Samson? Barn. xvi. 15, "Pa fodd y dywedi, Cu genyf dydi, a'th galon heb *fod* gyda mi? ac ni fynegaist i mi yn mha *fan y mae* dy fawr nerth." (Datguddiad o'r hwn ddirgelwch yn y diwedd a gostiodd iddo ei fywyd.) Hyny a allai Crist ei ddywedyd wrth lawer iawn yn ein dyddiau ni. Pa fodd y dywedwch, Cu genym dydi, pan nad ydych byth yn mynegu i mi eich cyfrinach? Pa fodd y dywedwch, Cu genym dydi, pan nad ydych byth yn rhoddi un ymweliad dirgel i mi? Pa fodd y dywedwch mai fy nghyfeillion ffyddlon a mynwesol ydych, pan nad ydych byth yn dadfynwesu eich hunain i mi yn y dirgel? Pa fodd y dywedwch mai fy hoffedigion ydych, pan y gellwch dreulio un mis ar ol y llall, a'm gadael i eto heb wybod un o'ch holl gyfrinachau, pan y gallech bob dydd, pe ewyllysiech, gael fy nghlust i yn y dirgel? Pa fodd y dywedwch mai fy mhlant ydych, a bod eto mor gauad a dystaw ag yr ydych? Pa fodd y dywedwch mai fy nyweddi ydych, a'ch bod yn gorwedd yn fy mynwes, ac eto byth yn cymeryd dim hyfrydwch i agor eich calonau a'ch cyfrinachau i mi, pan yr ydwyf wrthyf fy hun? Yr hyn a ddywedodd Alexander wrth un oedd o'r un enw, ond llwfr-ddyn, "Naill ai rho heibio enw Alexander, neu ymladd fel Alexander," hyny wyf finau yn ei ddywedyd wrthych chwithau, "Naill ai byddwch yn aml mewn cell-ddyledswyddau, fel y gwedda i Gristion, neu ynte rhoddwch heibio enw Cristion ; naill ai dadfynweswch eich hunain yn y dirgel i Grist, megys cyfeillion, anwyliaid, a phlant, neu ynte rhoddwch heibio yr enwau hyny." Ond—

XVIII. Ystyriwch fod Duw wedi gosod nôd neillduol o ffafr, anrhydedd, a noddiad, ar y rhai hyny a fu yn gweddïo yn y dirgel, megys y gwelwch yn Moses, Exod. xxxiv. 28; yn Abraham, Gen. xxi. 33; yn Isaac, Gen. xxiv. 63; yn Jacob, Gen. xxxii. 24—29; yn Dafydd,

Salm lv. 16, 17; yn Daniel, pennod x. 9—12; yn Paul, Actau ix. 11; yn Cornelius, Actau x. 2, 4; yn Pedr, Actau x. 9—12; ac yn Manasseh, 2 Cron. xxxiii. 18, 19. Gosododd Duw yr holl wŷr da yma a ymarferasant eu hunain mewn gweddi ddirgel, ar goflyfr, er enw ac anrhydedd tragwyddol iddynt. Anfynych yr ysgrifenai y Persiaid enw eu brenin, ond â llythyrenau o aur. Ysgrifenodd Duw (fel y gallaf ddywedyd) eu henwau hwythau mewn nodweddiadau o aur, y rhai a wnaethant gydwybod o ymarferyd eu hunain mewn gweddi ddirgel. Y mae enwau gwerthfawr y rhai hyny a ymroddasant i ddyledswyddau ystafellol, fel saf-ddelwau aur, y rhai ni all ffun halogedig dynion, mewn un modd eu difwyno. Y maent fel cynifer o heulau tywyniadol, ni all dim cymylau eu tywyllu; y maent fel cynifer o adamantau gwreichionllyd, y rhai a lewyrchant ddysgleiriaf ar y noswaith dywyllaf. Nid â y Cristion byth i'w ystafell i dywallt allan ei enaid ger bron yr Arglwydd, heb i'r Arglwydd wneuthur nodiad anrhydeddus o hono, a gosod nôd dirgel o ffafr arno, Ezec. ix. 4—6. A pha fodd y dylai hyn gyffroi pawb Cristionogion, i fod yn aml gyda Duw wrthynt eu hunain! Y Rhufeiniaid oeddynt yn uchelfrydig iawn am gyraedd enw da, a gair da, yn y byd hwn; ac oni ddylai Cristionogion fod mor ddwyfol uchelfrydig am gyraedd enw da, a gair da, yn y byd arall? Gwell yw enw da yn wastad, nag enw mawr; ac enw yn y nefoedd, sydd yn anfeidrol well na mil o enwau ar y ddaear; a'r ffordd i'r ddau hyn yw bod yn aml gyda Duw yn y dirgel. Ond—

XIX. Ystyriwch fod Satan yn elyn mawr iawn i weddi ddirgel. Y mae gweddi ddirgel yn fflangell ac yn uffern i Satan. Y mae pob gweddi, gruddfaniad, neu ochenaid ddirgel, yn chwanegu at boenau y diafol. Pan y mae plentyn Duw ar ei liniau yn ei ddirgel gyfarchiadau at Dduw, O! y meddyliau dyeithr, y meddyliau daearol, y meddyliau crwydrol, y meddyliau trallodus, y meddyliau hyll, cableddus, a blinedig, y mae Satan yn

wthio i mewn i'w enaid! a'r oll i'w ddiddyfnu ef oddi wrth weddi ddirgel. Weithiau y dywed wrth yr enaid mai ofer yw ceisio Duw yn y dirgel; bryd arall y dywed wrth yr enaid ei bod yn rhy ddiweddar i geisio Duw yn y dirgel, oblegid fod drws trugaredd wedi ei gau, ac nad oes yr un gobaith, yr un cymhorth i'r enaid. Weithiau y dywed wrth yr enaid ei bod yn ddigon i geisio Duw yn y cyhoedd; ac weithiau ereill y dywed wrth yr enaid nad yw ond annghynefinrwydd i geisio yr Arglwydd yn y dirgel; weithiau y dywed wrth yr enaid nad yw wedi ei ethol, ac am hyny y gwrthodir ei holl weddïau dirgel; brydiau ereill y dywed wrth yr enaid ei fod wedi ei selio i fyny i ddydd digofaint, ac am hyny na all gweddi ddirgel byth wrthdroi y sêl; a'r oll i ddigaloni ac annghefnogi y Cristion tylawd yn ei ymneillduadau dirgel. Weithiau y gwrthdery Satan yn erbyn y Cristion tylawd, fawredd ei bechodau; a phrydiau ereill efe a wrthdery yn ei erbyn fawredd ei annheilyngdod; weithiau y gwrthdery yn erbyn angen y Cristion am ras; a phrydiau ereill yn erbyn angen y Cristion am ddoniau i drin y cyfryw ddyledswydd fel y dylai. Weithiau y gwrthdery yn erbyn y Cristion ei unionedd yn ei weddi ddirgel; a phrydiau ereill y gwrthdery yn erbyn ennilliadau y Cristion mewn gweddi ddirgel; a'r oll i weithio yr enaid i ffieiddio gweddi ddirgel. Y fath elyn marwol yw Satan i'r ymarferiad hwnw. O! yr ofnau, y dychymygion, a'r tybiau dyeithr a gyfyd Satan yn aml yn ysbrydoedd Cristionogion pan y byddont gyda Duw yn unig, a'r oll i'w gweithio hwynt i daflu ymaith weddi ddirgel. Nid rhai o amcanion lleiaf Satan yw rhwystro y Cristion yn ei farsiandiaeth ddirgel gyda Duw. Y mae Satan yn gwylio ar ysgogiadau y Cristion, fel na all droi i'w ystafell, nac ymlusgo i un lle i ymddyddan yn y dirgel gyda'i Dduw, heb iddo ei ganlyn ef yn galed wrth ei sodlau, a pharhaus daflu dyryswch *i'r* enaid, neu ynte wrthdaro y naill beth neu y llall *yn erbyn* yr enaid. Y mae y Cristion yr un mor alluog i gyfrif sêr y nef, a

rhifo tywod y môr, ag yw i gyfrif yr amrywiol ddichellion y mae Satan yn eu defnyddio i attal cyfarchiadau dirgel yr enaid at Dduw. Yn awr, oddi wrth y gwrthwynebiad mawr y mae Satan yn ei wneuthur yn erbyn gweddi ddirgel, gall y Cristion yn ddiogel gasglu y pum peth hyn,—

1. *Rhagoroldeb* gweddi ddirgel. Yn ddiau, pe na buasai yn beth rhagorol i ddyn fod yn y dirgel gyda Duw, ni wnelsai Satan byth y fath wrthwynebiad yn ei herbyn.

2. *Angenrheidrwydd* y ddyledswydd hon. Pa fwyaf angenrheidiol y byddo unrhyw ddyledswydd i les tumewnol a thragwyddol y Cristion, mwyaf i gyd y mae Satan yn ymgyffroi ei hun i bylu ysbryd y Cristion yn y ddyledswydd hòno.

3. *Y defnyddioldeb* neu y *lles* ag sydd yn cydfyned â chyflawniad cydwybodol o'r ddyledswydd hon. Lle yr ydym ni yn debyg o ennill fwyaf, yno y mae Satan yn caru gwrthwynebu fwyaf.

4. *Goruchafiaeth* gweddi ddirgel. Pe na buasai math o hollalluogrwydd ynddi,—pe na buasai yn alluog i wneuthur rhyfeddodau yn y nef, a rhyfeddodau ar y ddaear, a rhyfeddodau yn nghalonau a bywydau dynion, ni byddai gan Satan byth y fath elyniaeth yn ei herbyn ag sy ganddo.

5. Fod Duw yn cael ei *fawr anrydeddu* trwy y ddyledswydd hon; ac onidê, ni byddai Satan byth yn cynddeiriogi cymaint yn ei herbyn. Hyn sydd wir, pa fwyaf o ogoniant y mae Duw yn gael oddi wrth unrhyw wasanaeth a gyflawnom, mwyaf i gyd y mae Satan yn ymorchestu, trwy ei holl ddichellion, naill ai i'n cymeryd *oddi wrth* y gwasanaeth hwnw, neu i'n rhwystro *yn* y gwasanaeth hwnw,—fel na chaffo Duw ddim anrhydedd, na ninau ddaioni, nac ef ei hun niwed, trwy ein ymneillduadau dirgel. Ond, yn

XX. ac yn olaf. Ystyriwch mai chwi yn unig yw rhai dirgel yr Arglwydd,—ei rai cuddiedig; gan hyny,

os na ymosodwch chwi at weddi ddirgel, ac i'ch ymneillduadau dirgel, fel y galloch fwynhau Duw yn y dirgel, ni wna neb. Rhai dirgel Duw yn unig sydd yn ysbrydol, ac wedi eu parotoi i ddysgwyl wrth Dduw yn y dirgel: Exod. xix. 9, "Yna chwi a fyddwch yn drysor priodol i mi o flaen yr holl bobloedd." Y mae y gair Hebreig, *Segullah*, yn arwyddo tlysau neillduol Duw; rhai priodol neu ddirgel Duw, a geidw efe yn ystôr iddo ei hun, i'w wasanaeth a'i ddefnyddiad neillduol ei hun. Tywysogion a glöant i fyny yn ddirgel â'u dwylaw eu hunain, eu tlysau mwyaf gwerthfawr a phrisfawr: ac felly Duw ei rai yntau: Salm cxxxv. 4, "Oblegid yr Arglwydd a ddetholodd Jacob iddo ei hun, ac Israel yn briodoriaeth iddo." Salm lxxxiii. 3, "Ymgyfrinachasant yn ddichellgar yn erbyn dy bobl, ac ymgynghorasant yn erbyn dy rai dirgel di;" a elwir felly, mewn rhan, oblegid i Dduw eu cuddio yn nirgelfa ei babell; ac, mewn rhan, oblegid fod Duw yn gosod cymaint o werth arnynt, megys y gesyd dynion ar drysor dirgel a chuddiedig o'r eiddynt hwythau. Ië, y mae yn gwneuthnr mwy o gyfrif o honynt hwy, nag y mae yn ei wneuthur o'r holl fyd hebddynt; ac felly caiff y byd wybod, pan y cyfyd Duw i ddial y camweddau a'r sarhad a wnaed i'w rai dirgel ef. Nid oes neb ar y ddaear a ŵyr gymaint am gyfrinachau ei gariad, am gyfrinachau ei gyngor, am gyfrinachau ei fwriadau, ac am gyfrinachau ei galon, ag a ŵyr ei rai dirgel ef. Nid oes neb dan ddylanwadau a chynorthwyon dirgel ei Ysbryd, fel y mae ei rai dirgel ef danynt; gan hyny, nid yw ryfedd os yw Duw eilwaith ac eilwaith yn eu galw, *ei rai dirgel*. Yn awr, beth a all fod yn fwy hyfryd a dymunol na gweled eu naturiaethau a'u hymarferiadau yn ateb i'w henwau? Rhai dirgel yr Arglwydd ydynt, ei rai cuddiedig ydynt; gan hyny, mor fawr y gweddai iddynt fod yn aml gyda Duw yn y dirgel. A gaiff anian ac ymarferiad Nabal ateb i'w enw? 1 Sam. xxv. 25, "Attolwg, na osoded fy Arglwydd ei galon yn erbyn y gwr Belial hwn, sef Nabal: canys fel *y mae* ei

enw, felly *y mae* yntau; Nabal yw ei enw ef, ac ynfydrwydd *sy* gydag ef." Y mae Nabal yn arwyddo, ynfyd, meddwyn, delff. Y mae yn arwyddo un annoeth a diddaioni; y mae yn arwyddo un a'i feddwl, barn, a dealltwriaeth, yn wywedig a methedig. Yn awr, os edrychwch i'r hanes, chwi gewch mai fel y mae wyneb yn ateb i wyneb, felly yr oedd tueddfryd ac ymarferiad Nabal yn dadseinio ac yn ateb i'w enw. A phaham, ynte, na wnai ein hanian a'n hymerfariadau ninau hefyd ateb i'n henwau? Nyni oll a elwir yn rhai anadnabyddus yr Arglwydd,—ei rai cuddiedig. Mor fawr, gan hyny, y perthyn i ni fod yn aml gyda Duw yn y dirgel! Paham y bydd dim ymryson ac annghytundeb rhwng ein henwau a'n hymarferiadau? Y mae yn nodadwy, fod ymarferiad ac ymarweddiad seintiau ereill wedi ateb i'w henwau. Y mae Isaac yn arwyddo chwerthinwr; ac Isaac oedd fab graslawn, a mab ufudd, a mab a gadwodd rhag y ffieidd-derau hyny, â pha rai yr halogodd llawer o'r patrieirch ereill eu hunain, a mab fu yn ddyddanwch i'w dad a'i fam eu holl ddydiau. Felly y mae Josiah yn arwyddo, tân yr Arglwydd; a'i ymarferiad a atebodd i'w enw, yn ei ddrylliad o allor Jereboam, a'i losgiad o'r llestri a wnaed i Baal, a'i ddiswyddiad o'r offeriaid eilunaddolgar, y rhai a osododd brenhinoedd Juda i fyny, a'i losgiad o'r llwyn wrth afon Cedron, a'i chwilfrywiad o hono yn llwch, a'i ddrylliad o dai y Sodomiaid, a'i halogiad o'r uchelfeydd lle y bu yr offeiriaid yn llosgi arogl-darth, a'i ddrylliad yn chwilfriw o'r delwau, a thoriad i lawr y llwyni, gan lanw eu lleoedd âg esgyrn dynion. Felly y mae Josuah yn arwyddo, Gwaredwr, a'i ymarferiad oedd yn ateb i'w enw. Er nad allasai efe waredu ei bobl oddi wrth eu pechodau, eto efe a'u gwaredodd oddi wrth eu dyoddefiadau. Llawer ac amrywiol oedd y gwaredigaethau a ddygwyd oddi amgylch trwy offerynoldeb Josuah, fel ag y gŵyr pawb a ddarllenodd lyfr Josuah. Felly y mae Ioan yn arwyddo graslawn, a'i ymarferiadau oedd yn ateb i'w enw. Yr oedd mor raslawn yn ei addysgiadau, ac yn ei rodiadau,

fel yr ennillodd ffafr hyd yn nod yn ngolwg ei elynion. Trwy yr esiamplau hyn, a llawer ereill a allesid eu rhoddi, y gwelwch fod ymarferiadau ereill o'r seintiau wedi ateb i'w henwau. Gan hyny, edryched pob un o honom ninau ar fod ein hymarferiadau ninau hefyd yn ateb i'n henwau; fel megis y'n gelwir ni yn rhai dirgel yr Arglwydd, felly bydded i ni fod yn aml gyda Duw yn y dirgel, fel y byddo hyfryd gysonedd rhwng ein henwau a'n hymarferiadau. Na fydded i ni edifarhau ddydd a ddaw, i ni gael ein galw yn rhai dirgel yr Arglwydd, ac eto heb wneuthur cydwybod erioed o gynnal dirgel gymundeb â Duw yn ein hystafelloedd. Ac fel hyn y gwelwch nad oes dim llai nag ugain o resymau i'ch perswadio i gynal dirgel gymundeb â Duw.

*Y Cymhwysiad.*—A ydyw felly fod gweddi ddirgel neu ystafellol yn ddyledswydd anhebgorol a osododd Crist ei hun ar bawb nad yw yn foddlon i orwedd dan y nôd gresynol o fod yn rhagrithwyr? Yna y mae y gwirionedd hwn yn euogi pedwar math ar bobl.

1. Y mae yn euogi y rhai hyny a daflant ymaith weddi ddirgel hyd nes eu cynhyrfer iddi gan yr Ysbryd; oblegid trwy yr hudoliaeth echryslawn hyn y cadwyd llawer oddi wrth weddi ddirgel amryw wythnosau a misoedd, ac, O! na allwn beidio dywedyd, amryw flynyddoedd! er ei bod yn amser addas iawn i weddïo pan y mae yr Ysbryd yn ein cynhyrfu i weddïo. Yr hwn a wna grefydd yn orchwyl iddo, a weddïa yn feunyddiol am ras beunyddiol, fel y mae yn gweddïo yn feunyddiol am fara beunyddiol: Luc xviii. 1, "Ac efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt, fod yn rhaid gweddïo yn wastad, ac heb ddiffygio." 1 Thes. v. 17, "Gweddïwch yn ddibaid." Eph. vi. 18, "Gan weddïo bob amser â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma, trwy bob dyfal-bara, a deisyfiad dros yr holl saint." Rhuf. xii. 12, "Yn dyfal-barhau mewn gweddi." Y Groeg sydd draws-symudiad (*metaphor*) wedi ei gymeryd oddi wrth gŵn hela, y rhai na

roddant byth mo'r chware i fyny hyd nes y daliont eu hysglyfaeth. Y mae yn rhaid i'r Cristion, nid yn unig weddïo, ond dal yn mlaen mewn gweddi hyd nes y caffo yr yspail nefol. Yr ydym mewn beunyddiol eisieu, ac am hyny y mae angen am i ni weddïo yn feunyddiol; y mae y byd yn denu yn wastadol, am hyny y mae angen am i ninau weddïo yn wastadol; y mae Satan yn temtio yn wastadol, am hyny y mae angen am i ninau weddïo yn wastadol; yn ydym yn pechu yn wastadol, ac am hyny y mae angen am i ninau weddïo yn wastadol; ac yr ydym mewn perygl yn wastadol, ac am hyny y mae angen am i ninau weddïo yn wastadol. Pan ofynwyd i un, paham yr oedd yn gweddïo chwe gwaith yn y dydd, yr ateb hyn yn unig a roddodd,—"Rhaid i mi farw, rhaid i mi farw, rhaid i mi farw." Y mae angen i Gristionogion sydd yn marw, fod yn Gristionogion yn gweddïo; a'r rhai sydd yn marw yn wastadol, y mae angen iddynt weddïo yn wastadol. Yn sicr, *teuluoedd diweddi ydynt deuluoedd diras, a phersonau diweddi ydynt bersonau diras.* Gwell fuasai ddeng mil o weithiau, pe nas ganesid ni i'r byd erioed, nag wedi ein geni, i ni fyned o hono heb ein hadnewyddu. Ond—

2. Y mae y gwirionedd hwn yn euogi y rhai hyny nad ydynt yn gweddïo yn eu teuluoedd, nac ychwaith yn eu hystafelloedd. Yn mhlith holl blant Duw, nid oes un wedi ei feddiannu â chythraul mud. Dynion diweddi ydynt yn wrthodedig gan Dduw, wedi eu dallu gan Satan, eu caledu mewn pechod, ac y mae pob anadliad a anadlant yn agored i bob rhyw farnau tymhorol, ysbrydol, a thragwyddol. Gweddi yw y rhan naturiol hono o addoliad sy ddyledus i Dduw, yr hyn ni wada neb ond atheistiaid. Salm xiv. 1.

Y mae yn nodadwy, yn mhlith y gwaethaf o ddynion, (y Twrciaid,) a'r gwaethaf o'r Twrciaid, (y Mooriaid,) ei bod yn ddadl gyfiawn wrth eu cyfraith, yn erbyn unrhyw dyst, ei fod heb weddïo chwe gwaith yn mhob

dydd naturiol; oblegid y mae yn ddefod ganddynt hwy i weddïo chwe gwaith yn y dydd. Yn

(1.) Cyn toriad y dydd, y maent yn gweddïo am ddydd.

(2.) Pan ddel y dydd diolchant am y dydd.

(3.) Ar ganol dydd, diolchant am yr hanner diwrnod a basiodd.

(4.) Ar ol hyny gweddïant am fachludiad haul da.

(5.) Ac ar ol hyny diolchant i Dduw am y dydd a aeth heibio.

(6.) Ac yn olaf, gweddïant am nos dda ar ol eu dydd.

Yn sicr, cyfyd yr Affricaniaid hyn ryw ddydd yn y farn, yn erbyn y rhai hyny a fyddont byw mewn hollol esgeulusiad o weddi, y rhai a oddefant i gymaint o heulau a lleuadau gyfodi a machlud uwch eu penau, heb erioed alw yn ddwys ar Dduw. Darllenais am ddyn, yr hwn, pan oedd yn glaf, ac yn ofni marw, a syrthiodd i weddïo, a thuag at annog Duw i'w wrando, dywedodd wrtho, Nad cardotyn cyffredin oedd efe, ac na flinodd ef mo hono erioed o'r blaen, ac os gwnai ond ei wrandaw y pryd hwnw, na flinai ef mo hono byth eilwaith. Y mae y byd hwn yn llawn o'r fath drueiniaid halogedig, cabl-eddus, a di-Dduw. Ond—

3. Y mae y gwirionedd hwn yn euogi y cyfryw ag ydynt yn gwbl am weddi gyhoeddus, ond nad ydynt byth yn prisio am weddi ddirgel; y rhai sydd yn gwbl am esgyn i fyny i'r deml, ond nad ydynt byth yn prisio am fyned i'w hystafelloedd. Y mae hyn yn rhagrith o'r mwyaf, sef, bod yn llawn sel mewn gweddi gyhoedd-us, eithr yn eithaf oer a difraw am weddi ddirgel. Yr hwn a ledrithia gydwybod yn y naill, ac heb wneuthur dim cydwybod yn y llall, sy ragrithiwr noeth. Mat. vi. 1, 2, 5, a xxiii. 5. Y mae Satan yn deall yn eithaf da pa fodd i wneuthur ei farchnadoedd o'r cyfryw ragrith-wyr oll, y rhai sydd yn gwbl am weddïau yr eglwys, ond yn hollol fel Galio yn nghylch gweddi ddirgel. Actau

xviii. 17. Y mae y cyfryw ag sydd yn cyflawni eu holl grefyddolder dirgel yn yr eglwys, ac nid yn eu hystafelloedd, yn gosod gormod bychandra ar awdurdod Crist, yr hwn sydd yn dywedyd, "Pan weddïech, dos i'th ystafell." Nid yw yn dywedyd, "Pan weddïech, dos i'r eglwys;" ond, "Pan weddïech, dos i'th ystafell." Ond—

4. Y mae y gwirionedd hwn yn euogi y cyfryw a weddïant â llais uchel yn eu hystafelloedd. Fe ddylai y Cristion gau drws ei ystafell, a drws ei wefusau hefyd, mor gauedig, fel na allai neb oddi allan glywed yr hyn a ddywed oddi mewn. "Dos i'th ystafell (ebe Crist) ac wedi cau dy ddrws, gweddïa." Ond pa raid yw i ddyn gau drws ei ystafell, os gweddîa â llef uchel? Ond gwrthddadleua rhai, a dywedant,

### Gwrthddadl I.

Nid oes genym *ddim amser* at weddi ddirgel. Y mae yn rhaid i ni edrych at ein gorchwyl, yr ydym yn y fath amgylchiadau ag y mae yn hollol anmhosibl i ni ganlyn dyledswyddau dirgel.

O! feistriaid, oriau da a chyfleusderau bendigedig at weddi ddirgel, sy fasnach o'r pris a'r gwerth uchaf; ac am hyny, pwy bynag sydd a meddwl ganddo i fod yn gyfoethog mewn gras, ac i fod yn uchel mewn gogoniant, a ddylai yn wastad brynu yr amser gwerthfawr. O! *Sirs*, ni a ddylem brynu amser at weddi ddirgel allan o amser ein bwyta, amser ein hyfed, amser ein cysgu, amser ein prynu, amser ein gwerthu, amser ein pechu, amser ein difyrwch, yn hytrach nag esgeuluso ein cymundeb ystafellol gyda Duw.

Titus Vespasian, yr hwn a ddialodd waed Crist ar Jerusalem, pan ddychwelodd yn orchfygwr i Rufain, gan gofio un noswaith pan oedd yn eistedd ar swpper gyda'i gyfeillion, na wnaeth efe ddim daioni y diwrnod hwnw, a draethodd y doeth-air cofadwy a chanmoladwy hwn, *Amici diem perdidi, Fy nghyfeillion, mi a gollais ddiwrnod.*

Chilo, un o'r saith doethion, pan ofynwyd iddo pa beth oedd y peth caletaf yn y byd i'w gyflawni, atebodd, Iawn ddefnyddio ac arfer amser dyn.

Yr oedd Chilo yn dal, Fod yn rhaid rhoddi cyfrif nid yn unig am (amser) ein llafur, ond ein seibiant hefyd. Ac Ælian a rydd y dystiolaeth hon am y Lacedemoniaid, eu bod yn awyddus iawn am eu hamser, gan ei dreulio oll yn nghylch pethau angenrheidiol, ac na oddefent un dinasydd i fod yn segur, nac i chwareu ychwaith. Ac ebe un arall, Yr ydym yn ofera gyda'r peth gwerthfawrocaf, ac yn taflu ymaith yr hyn y byddai ein budd mwyaf i'w brynu.

Yn ddiau bydd i'r Cenhedloedd gyfodi yn y farn yn erbyn y rhai a alwant eu hunain yn Gristionogion, y rhai sydd yn ynfydu ac yn difyru eu hamser gwerthfawr gyda'r drych, y grib, y delyn, (*lute*,) y crwth, y bibell, neu gyda chwareuyddiaethau gwag a digrifiadau ynfyd, neu trwy ofer-gellwair, cysgu annghymedrol, a gwledda arddigonol.

Naill ai y mae gweddi ystafellol yn ddyledswydd, neu nid yw ddim yn ddyledswydd. Yn awr, ei bod yn ddyledswydd, a brofais mor gadarn, yr wyf yn tybied, fel na all na dyn na diafol, yn dêg neu yn gyfiawn, wadu nad yw yn ddyledswydd. Am hyny, paham y bloeddia dynion i fyny orchwyl mawr? Och! pa orchwyl bynag a adewir heb ei wneuthur, rhaid cyflawni dyledswydd, onidê, y dyn hwnw a'i hesgeulusa, a ddinystria ei hun am byth. Gwrthddadleu am orchwyl sydd beth gwag, pan y byddo dyledswydd ofynedig i gael ei chyflawni; ac yn wir,pe byddai gwrthddadleuaeth noeth am orchwyl, yn ddigon i ddynion er esgeuluso dyledswydd, y mae arnaf ofn nad oes ond ychydig o ddyledswyddau yr efengyl nad ymgynygai dynion i'w gochelyd, dan rith gorchwyl, gorchwyl mawr. Yr hwn a wna orchwyl yn esgus rhag gweddi ddirgel, a fydd yr un mor barod i gymeryd gorchwyl yn esgus rhag gweddi deuluaidd; a'r hwn a

wna orchwyl yn esgus rhag gweddi deuluaidd, a fydd yr un mor barod i gymeryd gorchwyl yn esgus rhag gweddi gyhoeddus. Wele, *Sirs,* cofiwch pa beth a ddaeth o'r rhai hyny a esgusodasant eu hunain allan o'r nefoedd trwy eu hesgusodion cnawdol, a'u negeseuau bydol: Luc xiv. 18—20, "Mi a brynais dyddyn, ac y mae yn rhaid i mi fyned, a'i weled; atolwg i ti, cymer fi yn esgusodol. (ebe un.) Mi a brynais (ebe un arall) bum iau o ychain, ac yr ydwyf yn myned i'w profi hwynt, atolwg i ti, cymer fi yn esgusodol. Mi a briodais wraig; (ebe un arall;) ac am hyny nis gallaf fi ddyfod." Y rheswm gwirioneddol paham na ddeuent i'r swpper y gwahoddasai Brenin y brenhinoedd hwynt iddi, oedd, nid am eu bod wedi prynu tyddynod ac ychain, ond fod eu tyddynod a'u hychain wedi eu prynu hwy. Cafodd pethau y byd a'u perthynasau cnawdol gymaint o le yn eu calonau a'u serchiadau, fel nad oedd ganddynt ddim archwaeth at wleddoedd y nefoedd; ac am hyny y mae yn nodadwy, fod Crist yn chwanegu ar ddiwedd y ddammeg, yr hwn "ni chasao ei dad, a'i fam, a'i wraig, a'i blant, a'i frodyr, a'i chwïorydd, ïe, a'i einioes ei hun hefyd, (llawer mwy ei dyddyn a'i ychain,) ni all efe fod yn ddysgybl i mi." Wrth y geiriau hyn y mae yn amlwg mai nid y tyddyn, na'r ychain, na'r wraig yn unig, a wnaeth iddynt wrthod gwahoddiad graslawn Crist, ond cariad a bri ynfyd, annghymedrol, a chnawdol, at y pethau hyny uwch law bendithion gwell a rhagorach. Gwrthodasant ras a thrugaredd Duw ag oedd yn cael ei gynyg yn yr efengyl, dan rith eu negeseuau bydol; a phenderfynodd Duw, yn ddios, na chai yr un o honynt brofi o'i swpper. Ac yn wir, beth a all fod yn fwy cywir a chyfiawn *na hyn?* sef na chai y rhai hyny byth gymaint a phrofi o'r bendithion ysbrydol a thragwyddol, y rhai a werthfawrogasant eu negeseuau bydol o flaen danteithion y nefoedd; y rhai, gyda'r Rubeniaid, a werthfawrogasant fro cyfleus at borthi eu hanifeiliaid, o flaen hawl yn ngwlad yr addewid. Gweddi ddirgel sydd waith anhebgorol ang-

enrheidiol er dwyn y galon i agwedd dda, a'i chadw hefyd mewn agwedd dda. Y mae yn anhebgorol angenrheidiol er darganfyddiad a rhagflaeniad pechod, ac er chwerwi, gwanychu, a phuro ymaith bechod. Y mae yn anhebgorol angenrheidiol er darganfyddiad gras, ac hefyd er cyflawn ymarferiad ô, a chynydd *mewn* gras. Y mae yn angenrheidiol i'n harfogi yn erbyn profedigaethau, cystuddiau, a dyoddefiadau tumewnol ac allanol; ac i'n haddasu ni at bob gwasanaeth a dyledswydd arall, i ogoneddu Duw, a dwyn yn mlaen ein tragwyddol ddedwyddwch; ac am hyny, paham y pledia neb alwad, tra y mae gwaith o'r fath neillduol angenrheidrwydd o'i flaen? Pe byddai plentyn neu wraig unrhyw ddyn yn beryglus glaf, neu archolledig, neu yn agos i angeu, nid ymddadleuai un amser, "Y mae genyf waith, y mae genyf lawer iawn o waith i'w wneuthur, ac am hyny nis gallaf aros gyda fy mhlentyn, neu fy ngwraig; ac nid oes genyf ddim amser i fyned, na danfon am feddyg," &c. O na; ond yn hytrach efe a ddadleuai fel hyn, "Y mae yn anhebgorol angenrheidiol i mi edrych ar ol cadwraeth bywyd fy mhlentyn, neu fy ngwraig; ac am hyn y gofalaf, beth bynag a ddelo o fy ngorchwyl." O feistriaid! y mae eich eneidiau o fwy o werth i chwi na holl wragedd a phlant y byd; ac am hyny y mae yn rhaid gofalu am hwn, pa orchwyl bynag a esgeulusir. Erioed nid appwyntiodd ac ni fwriadodd Duw i un alwad wthio gweddi ddirgel y tu allan i'r drysau. Mai pechod mawr yw i un proffeswr esgeuluso ei alwad neillduol dan unrhyw rith crefyddol, sydd eithaf amlwg oddi wrth yr ysgrythyrau hyn,—Exod. xx. 9, "Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith." 1 Cor. vii. 20, "Pob un yn yr alwedigaeth y galwyd ef, yn hòno arhosed." 2 Thes. iii. 10, 11, 12, "Canys pan oeddym hefyd gyda chwi, hyn a orchymynasom i chwi, Os byddai neb ni fynai weithio, na chai fwyta chwaith. Canys yr ydym yn clywed fod rhai yn rhodio yn eich

plith chwi yn afreolus, heb weithio dim, ond bod yn rhodresgar. Ond i'r cyfryw gorchymyn yr ydym, a'u hannog trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ar *iddynt* weithio trwy lonyddwch, a bwyta eu bara eu hunain." 1 Thes. iv. 11, 12, "A rhoddi o honoch eich bryd ar fod yn llonydd, a gwneuthur eich gorchwylion eich hunain, a gweithio â'ch dwylaw eich hunain (megys y gorchymynasom i chwi.) Fel y rhodioch yn weddaidd tuag at y rhai sydd oddi allan, ac na byddo arnoch eisieu dim." Eph. iv. 28, "Eithr yn hytrach cymered boen, gan weithio â'i ddwylaw yr hyn sy dda; fel y byddo ganddo beth i'w gyfranu i'r hwn y mae angen arno." 1 Tim. v. 8, "Ac od oes neb heb ddarbod dros yr eiddo, ac yn enwedig ei deulu, efe a wadodd y ffydd, a gwaeth yw na'r diffydd." Ië, ein Harglwydd Iesu Grist ydoedd saer wrth ei gelfyddyd, Marc vi. 3; Mat. xiii. 55, 56; ac yr oedd yn llafurus yn y gelfyddyd, hyd nes y dechreuodd ar ei weinidogaeth gyhoeddus, fel y cytuna pawb o'r henafiaid. Yr oedd gan y patriarchiaid eu galwedigaethau neillduol. Abel oedd fugail defaid, Gen. iv. 2; Noah oedd arddwr, Gen. ix. 20; meibion Jacob oeddynt fugeiliaid, a cheidwaid anifeiliaid, Gen. xlvi. 34. Ac yr oedd gan yr holl apostolion, cyn eu galw i waith y weinidogaeth, eu galwadau neillduol.

Wrth gyfraith Mahomet, y mae y Twrc mawr ei hun yn rhwym i ymarfer â rhyw law-gelfyddyd, neu alwad. Gwnaeth Solon ddeddf, na fyddai y mab yn rhwym i gynorthwyo ei dad, pan yn hen, oddieithr ei fod wedi gosod ei hun, yn ei ieuenctyd, i ryw alwedigaeth. Ac yn Athen, yr oedd pob dyn i roddi cyfrif blynyddol i'r hedd-ynad, trwy ba gelfyddyd, neu ddull bywioliaeth, yr oedd ef yn cynal ei hun; ac os na allai wneuthur hyny, yr oedd i gael ei alltudio. Ac y mae wedi ei gondemnio gan yr holl ysgrifenwyr fel yn wagedd mawr iawn yn Dionysius, am y mynai fod y bardd goreu; a Caligula, am y mynai fod yr areithiwr goreu; a Nero, am y mynai fod y crwthwr goreu; ac felly daeth y tri i

fod y tywysogion gwaethaf, trwy ofalu mwy am orchwylion dynion ereill na'u galwad neillduol eu hunain. Ond bod i ddyn daflu ymaith neu esgeuluso gweddi ddirgel dan esgus o'i alwad neillduol, nid yw gyson âg un ysgrythyr; ïe, y mae yn wrthwyneb i lawer iawn o ysgrythyrau, megys y mae yn amlwg trwy y lliaws rhesymau a goffawyd yn barod. Nid yw galwad o eiddo neb, yn ddiau, i gymeryd ymaith alwad oddi wrth Dduw neu dduwioldeb. Nid aeth i galon Duw erioed, y dylai ein galwadau neillduol yru ymaith ein galwad cyffredinol o Gristionogrwydd. Y mae yn rhaid, yn ddiau, i'n galwad neillduol roddi lle i'n galwad gyffredinol. Oni wnaeth y wraig o Samaria adael ei dwfr-lestr, a rhedeg i'r ddinas, a dywedyd, "Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wnaethym; onid hwn yw y Crist?" Ioan. iv. 28, 29. Oni adawodd y bugeiliaid eu diadellau yn y maes, gan fyned i Bethlehem, a mynegi y newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a glywsant gan yr angel, sef, "fod Ceidwad wedi ei eni yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd?" Ac oni chanmolodd Crist Mair am yr esgeulusiad santaidd hwnw o'i galwad neillduol, pan yr eisteddodd wrth ei draed, ac y gwrandawodd ei eiriau? Luc x. 38. A pha beth y mae yr holl esiamplau hyn yn ei ddangos, ond fod yn rhaid i'n galwadau neillduol roddi lle i alwad cyffredinol Cristionogrwydd. Yn sicr, y mae gweithredoedd ein galwad gyffredinol yn llawer uwch a rhagorach nag yw gweithredoedd ein galwadau neilldnol; ac am hyny y mae yn llawer addasach i'n galwad gyffredinol fenthyca amser gan ein galwad neillduol, nag ydyw i'n galwad neillduol fenthyca amser gan ein galwad gyffredinol. Yn sicr, y mae y dynion hyny yn anwybodus iawn, neu yn halogedig iawn, a dybiant eu hunain wedi eu rhwymo mor glymedig i ganlyn eu galwedigaethau neillduol chwe diwrnod yn yr wythnos, fel y mae yn rhaid iddynt beidio ag ymyraeth dim â dyledswyddau crefyddol yn yspaid y dyddiau hyny. Duw, yr hwn yw Arglwydd

amser, a gadwodd rhyw ran o hono iddo ei hun bob dydd. Er ei bod yn orchymynedig i'r Iuddewon lafurio chwe diwrnod o'r wythnos, eto yr oedd yn orchymynedig iddynt hefyd offrymu i fyny *foreuol a phrydnawnol aberth yn feunyddiol.* Deut. vi. 6—8; Exod. xxix. 38, 39; a Num. xxviii. 3.

Yr oedd yr Iuddewon yn rhanu eu dydd i dair rhan: y gyntaf, i weddi; yr ail, i ddarllen y gyfraith; a'r drydedd, at weithredoedd eu galwedigaethau cyfreithlawn. Er mor ddrwg oedd yr Iuddewon, eto yr oeddynt bob dydd yn neillduo rhyw ran o'r dydd at ymarferiadau crefyddol. Gwaeth na'r Iuddewon, yn ddiau, yw y rhai hyny a dreuliant eu holl amser yn nghylch eu gorchwylion neillduol, ac a gauant weddi ystafellol yn hollol y tu allan i'w drysau. Y mae enaid y dyn hwnw mewn cyflwr peryglus iawn, yr hwn sydd wedi ei faglu gan attalfeydd y byd, fel nad all hebgor dim amser at weddi ddirgel. Os Duw yw Arglwydd dy drugareddau, Arglwydd dy amser, ac Arglwydd dy enaid, pa fodd y gelli, gydag un uniondeb nac urddasrwydd, daflu ymaith ei wasanaeth, dan rith llawer o orchwyl? Colledig yw y dyn hwnw, melldigedig yw y dyn hwnw, yr hwn a all gael amser i bob peth ond i gyfarfod â Duw yn ei ystafell. Y mae y dyn hwnw, yn ddiau, ar fin dystryw, yr hwn sydd a'i orchwyl bydol yn bwyta i fyny ei holl feddyliau oddi wrth Dduw, oddi wrth Grist, oddi wrth y nefoedd, oddi wrth dragwyddoldeb, oddi wrth ei enaid, ac oddi wrth bethau perthynol i'w enaid. Ond pa fwyaf o orchwyl bydol sydd genyt mewn llaw, mwyaf oll yw yr angen am i ti gadw yn agos at dy ystafell. Llawer o orchwyl sydd yn gosod dyn yn agored i lawer o bechodau, llawer o faglau, a llawer o brofedigaethau. Yn awr, pa fwyaf o bechodau, maglau, a phrofedigaethau, y mae gorchwyl dyn yn ei osod yn agored iddynt, mwyaf yn y byd yw yr angen am i'r dyn hwnw fod yn aml mewn gweddi ddirgel, fel y cadwer ei enaid yn rhydd oddi wrth bechod,

ac fel y cadwer ei droed rhag cael ei dal yn nghroglath y diafol, ac fel y gallo sefyll yn ddiysgog yn awr y brofedigaeth. Y mae gweddi ddirgel mor bell oddi wrth fod yn rhwystr i orchwyl dyn, fel y mae yn ffordd y ffyrdd i ddwyn i waered fendith o'r nefoedd ar orchwyl dyn; fel yr oedd y blaenffrwyth ag yr oedd pobl Dduw yn ei ddwyn iddo, yn dwyn i lawr fendith o'r nefoedd ar y cwbl ag oedd ar ol. Deut. xxvi. 10, 11. Nid yw gweddi ac ymborth byth yn rhwystr i deithio. Y mae gweddi ddirgel yn debyg i Jacob, yr hwn a ddygodd fendith i lawr o'r nefoedd ar yr oll o eiddo Laban. Y mae gweddi ddirgel yn rhoddi i ddyn ddefnydd santeiddiedig o'i holl gysuron daearol, ac ar ei holl orchwylion daearol hefyd; a hyn a wybu Dafydd a Daniel trwy brofiad, ac am hyny ni allasai eu gorchwylion mawr cyhoeddus eu cymeryd oddi wrth eu dyledswyddau dirgel. Amser a dreulir mewn cyflawniadau nefol, nid yw ddim yn amser wedi ei golli oddi wrth orchwylion bydol. Gweddi ddirgel sydd yn gwneuthur yr oll a gymerom mewn llaw yn llwyddiannus. Gwnaeth gweddi ystafellol lawer yn gyfoethog, ond ni wnaeth un dyn erioed yn dylawd neu yn anghenog yn y byd hwn. Nid oes dyn ar y ddaear a ŵyr beth a ddeillia o, neu a ddygwydd mewn diwrnod: Diar. xxvii. 1, "Nac ymffrostia o'r dydd y fory: canys ni wyddost beth a ddygwydd *mewn* diwrnod." Y mae pob diwrnod fel yn fawr feichiog. Y mae pob diwrnod fel pe bae yn feichiog ar ryw beth; ond pa beth a ddwg allan, pa un ai croes ai cysur, ni all neb fynegi: megys pan y mae gwraig yn feichiog, ni all neb fynegi pa ryw esgoriad a fydd. Ni ŵyr neb pa drugareddau a ddygwydd mewn diwrnod, pa ofidiau, pa dda, neu pa ddrwg, pa gystuddiau, pa brofedigaethau, pa ryddid, pa rwymau, pa lwyddiant, neu pa aflwyddiant a ddygwydd mewn diwrnod; ac am hyny y mae gan ddyn achos i fod bob dydd yn ei ystafell gyda Duw, fel y caffo ei barotoi a'i addasu i roesawu a derbyn yr holl ddygwyddiadau, canlyniadau, a'r deilliadau, ag a all ddyfod i'w gyfarfod yn ystod ei fywyd.

Y mae cymaint a hyn yn ddigon o atebiad i'r wrthddadl hon. Eithr—

## Gwrthddadl II.

Gall ereill wrthddadlu, a dywedyd, Syr, yr ydym ni yn addef fod gweddi ddirgel yn ddyledswydd anhebgorol ag sydd yn gorphwys ar bobl Dduw; eithr gweision ydym ni, ac nid oes genym ni ddim amser ag y gallom ei alw yr eiddom ein hunain; ac y mae gorchwyl ein meistr y fath ag na oddef i ni ddim amser at weddi ddirgel, ac am hyny yr ydym yn gobeithio y cymerir ni yn esgusodol.

Ateb 1. Y mae y testyn yn anmhenodol, ac nid yw wedi ei gyfyngu i unrhyw fath neu radd o ddynion, pa un bynag ai uchel neu isel, tylawd neu gyfoethog, caeth neu rydd, gwas neu feistr. "Ond tydi, pan weddïech, dos i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddïa ar dy Dad yr hwn *sydd* yn y dirgel." Yma y mae (yn ol y Saesonaeg) dri tydi: tydi, tydi, tydi; y rhai sydd i'w deall yn anmhenodol. Tydi was, yn gystal a thydi feistr; tydi ŵr caeth, yn gystal a thydi ŵr rhydd; tydi ddyn tylawd, yn gystal a thydi ddyn goludog; tydi forwyn, yn gystal a thydi feistres; tydi blentyn, yn gystal a thydi dad; tydi wraig, yn gystal a thydi ŵr. Y mae gweddi ddirgel yn ddyledswydd anhebgorol, ag sydd yn gorphwys ar bob math a graddau o ddynion. Gall dyn ddywedyd yr un mor ddiogel fod y rhagenw (*Tu*) *ti*, ag sydd yn rhedeg drwy y Deg Gorchymyn,—"Na fydded i *ti* dduwiau ereill ger fy mron i, Na wna i *ti* ddelw gerfiedig, Nac ymgryma *di* iddynt, ac na wasanaetha *di* hwynt, Na chymer *di* enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer, Chwe diwrnod y gweithi *di*, Anrhydedda *di* dy dad a'th fam, Na ladd *di*, Na wna *di* odineb, Na ladrata *di*, Na ddwg *di* gam-dystiolaeth yn erbyn dy gymydog, Na chwennych *di* dŷ dy gymydog, na chwennych *di* wraig dy gymydog, na'i wasanaethwr, na'i wasanaethferch, na'i ŷch, na'i asyn, na dim a'r sydd eiddo

dy gymydog," yn perthynu i'r cyfoethog ac nid i'r tylawd, i'r meistr ac nid i'r gwas, ag y gall ddywedyd fod y tri *thydi* yn y testyn yn perthynu i'r cyfoethog ac nid i'r tylawd, i feistriaid ac nid i weision: ond yn ddiau ni ddywed un dyn yn ei synwyr y fath beth. Y mae y rhagenw hwn, *tydi*, yn ddiamau yn cyraedd pob dyn yn y byd, o ba radd neu rywogaeth bynag y byddo.

2. Yr wyf yn ateb, fod yr atebion a roddwyd i'r wrthddadl gyntaf, yn gymhwysiadol iawn yma. O! na byddai pawb meistri mor ddoeth a gosod yr atebion hyny at eu calonau eu hunain: gallai fod yn foddion i attal llawer o bechu, ac i annog meistri a meistresi i roddi i'w gweision duwiol ychydig rhagor o amser i ddyrchafu eu calonau at Grist yn y dirgel. Ond—

3. Yr wyf yn ateb, os gwas ydwyt, y mae genyt ryddid i ddewis meistr newydd. Gwell fyddai i ti newid dy sefyllfa, na byw dan gronglwyd y fath feistr gelynol i Dduw, i Grist, i grefydd, iddo ei hun, ac i dragwyddol lesad dy enaid tylawd, yr hwn na rydd i ti hanner awr o amser yn y dydd i'w threulio yn dy ystafell, dy gell, er fod gogoniant Duw, a daioni ei deulu ef ei hun, a thragwyddol ddedwyddwch dy enaid tithau, yn perthynu iddi. Y mae yn well i ti newid dy feistr nag esgeuluso dy ddyledswydd: 1 Cor. vii. 2, "Ai yn was y'th alwyd? na fydded gwaeth genyt; eto os gelli gael bod yn rhydd, mwynha hyny yn hytrach." Collasom ein rhyddid trwy bechod, ac nid ydym, wrth natur, yn dymuno dim yn fwy na rhyddid. Dywed y Rabbiniaid am ryddid, pe byddai y nefoedd yn femrwn, a'r môr yn ingc, a phob glaswelltyn yn bin ysgrifenu, nas gallai ei chlod gael ei gynwys na'i draethu. Yr oedd tŷ Laban yn llawn eilunod; tai mawrion ydynt yn aml felly. Pabell Jacob oedd fychan; ond yr oedd gwir addoliad Duw ynddi. Y mae yn anfeidrol well byw yn mwthyn Jacob, nag yn nhŷ Laban Gada'r cyfryw feistri y mae goreu ein bod, lle y cawn leiaf o bechod, a mwyaf o Dduw; lle y

gallwn gael yr esiampl oreu, a'r annogaeth gryfaf i fod yn santaidd a dedwydd.

Fe ddylai gwas crefyddol fod mor ofalus yn newisiad ei feistr, ag yw meistr crefyddol i fod yn ofalus yn newisiad ei was. Y mae gweision graslawn yn fendithion mawr i'r teuluoedd lle y maent yn byw; a da y gellir galw y meistr hwnw yn feistr annedwydd, yr hwn yn hytrach a ymadawa â'i was graslawn, nag y rhydd iddo ychydig amser yn y dydd i dywallt allan ei enaid ger bron yr Arglwydd. Ond—

4. Yr ydwyf yn ateb, os ydwyt yn was graslawn, yna yr ydwyt yn cael dy gynhyrfu gan Dduw i lefain, Abba Dad, pan wrthyt dy hun; pan nad oes yr un llygad yn dy weled, ond yr hwn a wêl yn y dirgel; os mai gwas graslawn ydwyt, yna ti a dderbyniaist, nid ysbryd y byd, ond yr ysbryd sydd o Dduw, 1 Cor. i. 12. Yn awr, yr hwn y mae pren y bywyd hwn ganddo, y mae y ffrwyth sydd yn tyfu ar y pren bywyd hwn ganddo: Galat. v. 22, "Eithr ffrwyth yr Ysbryd yw, Cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." Yn awr, gelwir gras, nid gweithredoedd yr Ysbryd, ond ffrwythau yr Ysbryd. Yn

(1.) O herwydd fod pob gras yn ddeilliedig oddi wrth yr Ysbryd, fel y mae y ffrwythau yn ddeilliedig oddi wrth y gwreiddyn.

(2.) I nodi melusder a hyfrydwch gras; oblegid beth sydd yn fwy melus a hyfryd na ffrwythau peraidd ac iachus?

(3.) I nodi y budd a'r lles sydd yn dylifo i'r rhai sydd a'r Ysbryd ganddynt; oblegid, megys ag y mae llawer yn ymgyfoethogi trwy ffrwythau eu gerddi a'u perllanoedd, felly y mae llawer yn ymgyfoethogi mewn gras, mewn santeiddrwydd, mewn cysur, ac mewn profiadau ysbrydol, trwy ffrwythau yr Ysbryd.

Yn awr, paham y rhoddodd Duw i ti ei Ysbryd? A phaham y gosododd yn dy enaid gasgliad o radau goruwchnaturiol? Onid fel y byddai i ti yn mhob ffordd

gael dy gymhwyso, dy drefnu, a'th addasu at weddi ddirgel, ac i gynal dirgel gymundeb gyda Duw?

Yn ddiau nid yw Duw yn rhoddi i unrhyw was dalent o ddoniau, neu dalent o ras, ond mewn trefn iddo ddwyn yn mlaen fasnach ddirgel rhyngddo a'r nefoedd.

5. Yr wyf yn ateb, er i'r brenin Darius wneuthur deddf, na archai neb arch gan un Duw na dyn, am ddeng niwrnod ar hugain, dan boen ei daflu i ffau y llewod, eto Daniel, yr hwn oedd ddeiliad a gwas hefyd i'r brenin Darius, ac yn gyfryw, fel mai ar ddwylaw yr hwn yr oedd gorchwylion penaf a mwyaf y deyrnas yn gorphwys; er hyny, efe a gynaliodd i fyny ei ddirgel ddefosiynau. Yn yr adnod gyntaf a'r ail o'r chweched o Daniel, y cewch fod gan Daniel orchwylion mawr a phwysig mewn llaw. Yr oedd wedi cael ei osod ar holl orchwylion amherodraeth Persia; ac efe, yn nghyda dau ereill o'r rhaglawiaid, (o'r rhai efe oedd y penaf,) oeddynt i dderbyn cyfrifon yr holl deyrnas, oddi wrth y chwech ugain tywysogion hyny, y rhai oeddynt yn gwasanaethu yn holl negesau unbenaeth Persia. Ac eto, er y fath liosogrwydd o negesau ag oeddynt yn orphwysedig ar ei ddwylaw, ac er ei sefyllfa wasaidd, eto yr oedd yn ofalus iawn i brynu amser at weddi ddirgel. Ië, y mae yn eithaf nodadwy, fod calon Daniel, yn nghanol ei holl orchwylion pwysig, wedi ei gosod gymaint ar weddi ddirgel, ar ei ymneillduadau dirgel at ei ymarferiadau crefyddol, ag yr anturiodd golli ei holl anrhydedd, budd, pleserau, ïe, ei fywyd, yn hytrach nag amddifadu ei hun o amser a chyfle cyfaddas i ddysgwyl wrth Dduw yn ei ystafell. Yn ddiau, cyfyd Daniel ryw ddydd yn y farn yn erbyn yr holl ddeiliaid a'r gweision hyny, y rhai sydd yn bwriadu taflu ymaith weddi ddirgel, trwy eu hesgusodion o orchwyl mawr, ac mai gweision ydynt, &c. Ond—

6. Yr wyf yn ateb, os na allwch chwi, y rhai ydych weision graslawn, er gwaith eich meistr, brynu ychydig amser i ymdrechu â Duw yn y dirgel, pa beth unigol a wnewch chwi? Pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei

wneuthur? A ydych chwi yn gwrandaw? Felly y gwna ereill. A ydych chwi yn darllen? Felly y gwna ereill. A ydych chwi yn canlyn eich meistri i weddi gyhoeddus? Felly y gwna ereill. A ydych chwi yn ymuno â'ch meistr mewn gweddi deuluaidd? Felly y gwna ereill. Ond O! fe ddylai gweision graslawn ragori ar bawb gweision ereill yn y byd; dylent hwy wneyd pethau neillduol dros Dduw. Mat. v. 47, "Pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei wneuthur?" Pa beth annghyffredinol yr ydych chwi yn ei wneuthur. Beth sydd yn fwy cyffredin na chael gweision yn canlyn eu meistri i weddïau cyhoeddus, ac i ddyledswydd deuluaidd? Ond cael gweision tylodion yn prynu ychydig amser oddi wrth orchwyl eu meistri, i dywallt allan eu heneidiau ger bron yr Arglwydd yn y dirgel, nid peth cyffredin yw hyn; ïe, peth annghyffredin yw hyn, ac y mae hyn yn gweddu yn nodedig iawn i weision graslawn. O! na wnai gweision pawb y rhai ydynt weision i'r Duw Goruchaf, ddwys ystyried, yn

(1.) Mai hynod y cawsant eu breintio gan Dduw, uwch law pawb gweision ereill yn y byd. Y maent hwy wedi eu galw, eu mabwysiadu, eu cymodi, maddeu iddynt, a'u cyfiawnhau ger bron gorsedd Duw, yr hyn nad yw gweision ereill. A phaham, ynte, na ddylai y fath weision fod yn hynod yn eu gwasanaeth, y rhai sydd mor hynod yn eu rhagorfreintiau?

(2.) Y mae gweision graslawn wedi eu gwneyd yn gyfranogion o anian ragorach nag yw gweision ereill. 2 Pedr i. 4, "Trwy yr hyn y rhoddwyd i ni addewidion mawr iawn a gwerthfawr; fel trwy y rhai hyn y byddech gyfranogion o'r duwiol anian." Nid yw yr apostol yn yr ymadrodd hwn yn cyfeirio at unrhyw gyfnewidiad a dychweliad hanfodol o'n sylwedd i natur Duw a Christ, ond yn unig at ddyrchafiad ac urddasiad ein natur trwy Grist. Er fod yr undeb dirgeledig, neillduol, a hynod hwnw ag sydd rhwng Cristionogion a Christ, yn eu dyrchafu hwy i uwch tebygolrwydd a chyffelybrwydd

o Dduw a Christ, nag a gyraeddasant ato erioed yn eu gwreiddiol berffeithrwydd; eto, nid yw yn trosglwyddo unrhyw draws-sylweddiad gwirioneddol o eiddo ein cyrff na'n heneidiau i'r ddwyfol natur. Sicr yw, nad yw ein hundeb a'n cysylltiad â Christ, nac yn cymysgu personau nac yn uno sylweddau; ond y mae yn cysylltu ein serchiadau, ac yn dwyn ein hewyllysiau i ammod o gyfeillach â Christ. Bod yn gyfranogion o'r dduwiol anian sydd yn arwyddo dau beth, medd rhai. Yn 1af. Cymdeithas â Duw yn ei santeiddrwydd. Yn 2il. Cymdeithas â Duw yn ei fendigedigrwydd; h. y. yn y weledigaeth-wynfydedig, ac yn nysgleirdeb gogoniant. Bod yn gyfranogion o'r dduwiol anian, medd ereill, yw bod yn gyfranogion o'r grasusau santaidd hyny, o'r cyneddfau dwyfol hyny, a elwir weithiau, "delw Duw, cyffelybrwydd Duw, buchedd Duw," trwy yr hyn y'n tebygolir i Dduw, nid yn unig megys y gwna llun neu ddarlun allanol gŵr, ond megys y gwna plentyn ei dad mewn wynebpryd a chyflwr. Yn awr, cymerwch y geiriau fel y mynoch, mor neillduol y perthyn i'r gweision hyny ag sydd yn gyfranogion o'r dduwiol anian, i wneuthur pethau hynod dros Dduw, i wneuthur y fath bethau dros Dduw ag nad oes gan weision ereill ag nad ydynt yn gyfranogion o'r dduwiol anian, un meddwl, un galon, nac un ysbryd i'w gwneuthur; yr hyn a wrthodant ac a ddiystyrant hwy ei wneuthur.

(3.) Gweision graslawn ydynt o darddiad uchel; y maent o fonedd tra ardderchog, a gwreiddyn anrhydeddus. 1 Ioan v. 19; Ioan iii. 8; Iago ii. 5.

(4.) Y mae gweision graslawn yn cael gweinyddiad anrhydeddus; y maent yn cael amddiffyniad ardderchog. Salm xxxiv. 7; Heb i. hyd y diwedd; Deut. xxxiii. 26, 27; Zech. ii. 5.

(5.) Gweision graslawn ydynt yn hynod urddasol; y maent wedi eu hurddasu â'r teitlau uchaf a mwyaf anrhydeddus. 1 Pedr ii. 9; Dat. i. 5, 6, a v. 10.

(6.) Cymerwch lawer o bethau yn un. Y mae gan

weision graslawn ragorach grasusau, profiadau, cymundeb, addewidion, sicrwydd, amlygiadau, gobaith, cynorthwyon, egwyddorion, ymborth, gwisg, a rhan, nag sydd gan bawb gweision ereill yn y byd; ac am hyny da y gall Duw ddysgwyl gwell a mwy pethau oddi wrthynt hwy, nag oddi wrth bawb gweision ereill. Gall Duw, yn eithaf da, ddysgwyl iddynt hwy wneuthur pethau digyffelyb er ei ogoniant ef, yr hwn a wnaeth y fath bethau digyffelyb er eu daioni hwy. Y mae Duw, yn ddiau, yn dysgwyl i weision graslawn fod yn ei fendithio ef, pan y mae gweision ereill yn ei felldithio; eu bod *hwy* yn ei fawrhau, pan y mae gweision ereill yn ei ddirmygu ef; eu bod *hwy* yn prynu amser drudfawr, pan y mae gweision ereill yn ofera ac yn pechu ymaith amser drudfawr; eu bod *hwy* yn wylo mewn congl, pan y mae gweision ereill yn campio ac yn difyru eu hunain yn mhlith eu cyfeillion llawen; eu bod *hwy* yn galaru, pan y mae gweision ereill yn pechu yn y dirgel; a'u bod *hwy* wrth eu gwasanaeth ddirgel, pan y mae gweision ereill yn cysgu.

Solomon, yr hwn oedd y tywysog doethaf a eisteddodd erioed ar orsedd, a'r hwn oedd dan arweiniad anffaeledig yr Ysbryd, a'i traethodd fel arwiredd safadwy, uwch law dwy fil o flynyddau yn ol, "Fod y cyfiawn yn rhagori ar ei gymydog." Pan ddyferodd Solomon y trawsymddwyn hyn o'i bin breninol, nid oedd dyn ar y ddaear yn gyfiawn gyfreithiol. Yr oedd Adda a'i holl hiliogaeth wedi syrthio o'u holl anrhydedd, gogoniant, urddas, a'u rhagoroldeb, i'r llynclyn mwyaf gresynol o bechod a thrueni; gan hyny, y mae rhai yn deall Solomon yn llefaru am un yn gyfiawn efengylaidd. Yr hwn sydd felly, bydded efe feistr neu was, cyfoethog neu dylawd, y mae yn rhagori ar ei gymydog. Ac O! na wnai pawb meistri ddwys ystyried hyn, fel nad ymddygent mor falch, uchel, a chwerw tuag at eu gweision duwiol, ag i nacau iddynt ychydig amser i dywallt allan eu heneidiau ger bron yr Arglwydd yn y dirgel.

Darllenais am Ingo, hen frenin y Drafiaid a'r Venediaid, yr hwn pan wnaeth wledd uchelwych, a osododd ei holl bendefigion paganaidd i eistedd yn y neuadd oddi dano; ac ar yr un pryd gorchymynodd i ryw Gristionogion tylodion gael eu dwyn i fyny i'w ystafell neillduol breswylfa (*presence chamber*) ef, i eistedd wrth ei fwrdd, fel y caent fwyta o'i wledd freninol ef. Pan yr oedd llawer yn rhyfeddu wrth hyn, dywedodd wrthynt, ei fod ef yn cyfrif Cristionogion, pa mor dylawd bynag, yn addurn mwy wrth ei fwrdd, ac yn fwy teilwng o'i gymdeithas, na'r pendefigion mwyaf ag oedd heb eu dychwelyd i'r ffydd Gristionogol. "Oblegid," ebai ef, "pan fyddo y pendefigion paganaidd hyn wedi eu gyru i uffern, y Cristionogion tylodion hyn a fyddant fy nghysur a'm cyd-dywysogion yn y nefoedd." Yn ddiau, cyfyd y tywysog ardderchog hwn ryw ddydd yn y farn yn erbyn pob Laban taeogaidd, y rhai a ymddygant mor greulon tuag at eu gweision graslawn, fel na chaniatant iddynt ychydig amser i ddysgwyl wrth Dduw yn y dirgel. Paham na chaniata meistri graslawn, idd eu gweision graslawn, ychydig amser at weddi ystafellol yn awr, gan ystyried eu bod yn gydgyfranogion â hwynt yn yr holl ddaioni sylweddol sydd yn dyfod trwy Grist yn y byd hwn; a chan ystyried y cânt fod yn gydgyfranogion â hwynt yn holl ogoniant y byd arall? Y mae gan y gwas tylotaf mewn teulu, enaid mwy gwerthfawr na'r nefoedd a'r ddaear; a'r gwaith mwyaf sydd yn gorphwys arno yn y byd hwn, yw edrych at dragwyddol gadwraeth a diogelwch hwnw; oblegid os bydd hwnw yn ddiogel, y mae yr oll yn ddiogel, os bydd hwnw yn dda, y mae yr oll yn dda; ond os collir hwnw, y mae yr oll wedi ei golli. Pob gwas graslawn, bydded ef mor dylawd a gwael bynag, eto os oes ganddo ddelw Duw, delw Brenin y breninoedd yn argraffedig arno, gwae yr hwn a wnelo gam, neu a ddirmygo, neu a sathro ar y ddelw hòno. Y mae Duw ei hun, yn ddiau, yn cael cam trwy y sarhad a wneir i'w ddelw ef. Y mae

y diystyrwch a'r dirmyg a wneir i ddelw neu argraff brenin, yn cael ei wneuthur i'r brenin ei hun, a diala efe yn gyfatebol.

Os oedd yn deyrn-drosedd yn nyddiau Tiberius, i gario delw *Augustine* ar fodrwy neu arian-bathol i un lle budr, fel y dywed *Suetonius* ei bod, pa faint mwy raid ei fod yn y meistri hyny, y rhai a ddirmygant, a ddifenwant, a waradwyddant, a wawdiant, a ddifriant, ac a sathrant dan droed, y cyfryw weision ag sy ganddynt ddelw y Duw mawr yn argraffedig ar eu heneidiau, a'r oll, am eu bod yn edrych tuag at Dduw, Crist, nefoedd santeiddrwydd, a'u dyledswydd? Ni ddylai meistri byth ddannod i'w gweision eu tylodi, gwaeledd eu tylwyth, neu eu sefyllfa wasaidd; ond cofio mai ewyllys y Creawdwr, yn hytrach na bai y gwas, yw y pethau hyn; ac y gall Duw, yr hwn a wnaeth y meistr yn gyfoethog a'r gwas yn dylawd, wneuthur, yr un mor fuan, y meistr yn yn dylawd a'r gwas yn gyfoethog. Y mae Duw yn aml yn darostwng y rhai galluog o'u heisteddfäau, ac yn dyrchafu y rhai isel-radd. Yn ddiau, ni ddylai un meistr na meistres ddirmygu, nac ymorfoleddu, ar y fath weision sydd a chanddynt eneidiau mor ardderchog a'r eiddynt hwythau; ond dylent ddwys ystyried yn aml, y synwyrwers o eiddo Solomon, "Y cyfiawn (er yn was, er y gwas gwaelaf yn mhlith yr holl weision,) a ragora ar ei gymydog." Gan hyny, rhoddwch iddynt ychydig amser a rhyddid i ymddyddan â Duw yn y dirgel. Ac O! na ddangosai pawb gweision graslawn eu hunain, yn rhagori ar eu cymydogion, trwy wneuthur mwy o gydwybod o weddi ddirgel nag a wna eu cymydogion, gan hunanymhyfrydu mewn ymneillduadau, a chan brynu mwy o amser at waith Duw, eu heneidiau, a thragwyddoldeb, nac a wna eu cymydogion. Ond—

7. Yr wyf yn ateb, mai Duw yw unig Arglwydd amser. Y mae amser yn fwy o eiddo yr Arglwydd nag yw o eiddo dy feistr; ac am hyny nid yw yn ddim esgeulusiad o orchwyl dy feistr, i gymeryd ychydig

amser bob dydd at weddi ddirgel. Y mae amserau, cystal a chanlyniadau, yn eiddo rhagluniaeth: fel y mae Duw yn Dduw ein trugareddau, felly efe yw Arglwydd ein hamserau: "Yn dy law di *y mae* fy amserau," medd Dafydd, Salm xxxi. 15. Yr oedd nid yn unig amserau ei ofidiau, ond amserau ei gysuron hefyd; nid yn unig amserau ei adfydau, ond amserau ei drugareddau hefyd; nid yn unig amserau ei beryglon, ond amserau ei ddyledswyddau hefyd, yn llaw Duw.

Dylid sylwi, nad yw y Salmydd yn dywedyd amser, eithr amserau, yn y rhif liosog, i ddangos fod pob tipyn a rhan o amser yn gorphwys ar law Duw.

Yr oedd un, wrth achwyn ar y rhai hyny a ddywedant, Deuwch, ymddyddanwn, i gael treulio yr amser, gyda gofid ysbryd yn llefain allan, (*O donec prætereat hora*,) O hyd onid êl yr awr heibio, O hyd onid êl yr amser heibio, yr hwn a roddodd trugaredd dy Wneuthurwr i ti i gael edifeirwch, i geisio maddeuant, i ennill gras, ac i gyraedd gogoniant. Y gwas hwnw ag sydd yn benthyca ychydig amser bob dydd i geisio gras gan Dduw yn y dirgel, sydd yn ei fenthyca yn hytrach gan Dduw na chan ei feistr; ac am hyny, paham y dylai ei feistr achwyn, gan ystyried na wnaeth Duw mo hono ef erioed yn arglwydd amser? Ond—

8. Yr wyf yn ateb, y dylai gweision brynu yr amser allan o'u cysgu, eu dadebriadau, a'u bwyd-brydiau beunyddiol, yn hytrach nag esgeuluso gweddi ddirgel dros ddiwrnod. A'r gweision hyny (o gydwybod tuag at Dduw, ac o ofal dyladwy am les ysbrydol a thragwyddol eu heneidiau,) ag a brynant awr a amser allan o'u cysgu, i'w threulio gyda Duw yn y dirgel, a gânt wybod, yn ddiau, trwy brofiad, y gwna Duw ychydig oriau o gysgu yn felusach ac yn well iddynt na llawer o oriau; a'u difyrwch allanol a gaiff ei wneyd i fyny-â hyfrydwch tufewnol; ac yn lle eu bara cyffredin, portha Duw hwynt â'r bara a ddaeth i waered o'r nef. Ac

onid gwas ei Dad oedd Crist? Esay xlii. 1, "Wele fy ngwas, yr hwn yr ydwyf yn ei gynal; fy etholedig, (neu ddewisedig,) *i'r hwn* y mae fy enaid yn foddlon: rhoddais fy ysbryd arno; efe a ddwg allan farn i'r Cenhedloedd." Ac oni phrynodd efe amser o'i orphwysfa naturiol, yn hytrach na gadael heibio weddi ddirgel? Marc i. 35, "A'r bore yn blygeiniol iawn, wedi iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le annghyfanedd: ac yno y gweddïodd." Yr oedd Crist yn treulio y dydd mewn pregethu, mewn iachau cleifion, ac mewn gwneuthur gwyrthiau; ac yn hytrach nag y cawsai y gweithredoedd hyn gau allan weddi ddirgel, yr oedd yn codi yn blygeiniol iawn, fel y cawsai amser i ymdrechu â'i Dad yn y dirgel. Felly Luc vi. 12, "A bu yn y dyddiau hyny, fyned o hono ef allan i'r mynydd i weddïo; a pharhau ar hyd y nos yn gweddïo Duw." O Syrs! a dreuliodd Crist nosweithiau cyfain mewn gweddi ddirgel er iachawdwriaeth eich heneidiau chwi? Ac a dybiwch chwi ei fod yn beth mawr i brynu awr o amser allan o'ch gorphwysfa naturiol, i'w geisio a'i wasanaethu ef yn y dirgel, i wneuthur pethau eich heddwch tragwyddol yn ddiogel? Prynu amser at weddi ddirgel, sydd bryniad o drysor gwerthfawr, yr hwn, os unwaith y collir ef, nis gellir byth ei adferu yn gyflawn eilwaith. Pe cymerai cyfoeth adenydd, ac ehedeg ymaith, gallant ddychwelyd eilwaith, fel y gwnaethant â Job; neu pe gwnai parch ac anrhydedd, mawredd ac enw bydol, ehedeg ymaith, gallant ddychwelyd eilwaith, fel y gwnaethant i Nebuchodonozor; pe gwnai ffyniant, goruchafiaethau, a buddugoliaethau enwog, iddynt eu hunain adenydd, ac ehedeg ymaith, gallant ddychwelyd drachefn, megys y gwnaethant i lawer o'r buddugoliaethwyr Rhufeinig, ac ereill; ond, os amser, yr hwn y mae y prydyddion yn ei liwio âg adenydd, i ddangos ei fuandra a'i gyflymdra, a ffy ymaith, ni ddychwel byth mwy.

Pendefiges fawr o'r wlad hon, ar ei gwely angeu, a

waeddodd allan, "Gelwch amser yn ol, gelwch amser yn ol, byd o gyfoeth am fodfedd o amser." Eithr amser wedi myned heibio, nis gallwyd erioed, ac nis gellir byth chwaith, ei alw yn ol.

Yr Aifftiaid a dynent lun amser â thri phen:

Y cyntaf oedd, o flaidd yn safnrythu am amser wedi pasio, oblegid ei fod wedi traflyncu yn wancus hyd yn nod y cof am gynifer o bethau tu hwnt eu galw yn ol.

Yr ail, o lew coronedig, yn rhuo am yr amser presenol, oblegid ei fod yn meddu tywysogaeth pob gweithrediad, am yr hyn y mae yn uchel alw.

A'r trydydd oedd, o gi twyllodrus, yn cynffon-loni am amser i ddyfod, oblegid ei fod yn porthi dynion maldodus â gobaith gwenieithgar idd eu tragwyddol ddinystr.

O na wnai hyn oll lwyddo gyda gweision i brynu amser at weddi ddirgel! A phe cai fy nghynghor i le, cynghorwn i weision i brynu ychydig amser at weddi ddirgel o'u cysgu, eu bwyd-brydiau, neu ddadebriadau cyfreithlon, yn hytrach nag i dreulio mewn gweddi ddirgel yr amser hwnw ag a eilw eu meistri eu hamser hwy, yn neillduol pe byddai eu meistri yn annychweledig, ac mewn bustl chwerwedd a rhwymedigaeth anwiredd; a hyny oblegid y pump rheswm hyn,—

(1.) O herwydd gallai hyn fod yn foddion i attal pechod lawer o du y meistr. Meistri, yn eu sefyllfa ddiadgenedledig, ydynt yn barod iawn i dymhestlu ac ymgynddeiriogi yn erbyn Duw, a Christ, a chrefydd, pan y gwelont eu gweision yn treulio eu hamser mewn gweddi ddirgel, neu mewn unrhyw ymarferiad crefyddol arall, yr hwn, yn ol eu barn hwy, yw eu hamser hwy, a'r hwn a ddylai gael ei dreulio yn gwbl gyda'u gwaith hwy. Yn awr, fe ddylai fod gan weision graslawn, y parch anrhydeddus hwnw, y serch tyner hwnw, y tynerwch Cristionogol hwnw, at eneidiau eu meistri, ag i wneuthur hyd eithaf yr oll sydd yn eu gallu, i attal eu

meistri rhag dwyn euogrwydd ar eu heneidiau, trwy bechu yn erbyn Duw.

Y mae y Persiaid, y Twrciaid, ac amryw Indiaid, mor dosturiol, fel yr adeiladant ysbyttai nid yn unig i ddynion hen ac afiach, ond hefyd i adar, anifeiliaid, a chwn, ag a fyddo naill ai yn hen, yn newynog, neu yn archolledig. O! pa mor dyner-galon, ynte, y dylai gweision graslawn fod tuag at eneidiau eu meistri, y rhai ydynt dlysau mwy gwerthfawr na'r nefoedd a'r ddaear!

(2.) Oblegid gallai hyn fod yn foddion i argyhoeddi barnau a chydwybodau eu meistri, fod rhyw werth, rhyw ragoroldeb, a rhyw bereidd-dra i'w gael mewn gweddi ddirgel, ac mewn dyledswyddau ystafellol ereill; oblegid pan welo meistri eu gweision yn prynu amser hyd yn nod o'u cysgu, dadebriadau, ciniaw, a swpper, byddant yn barod i gasglu fod mwy o werth, yn ddiau, mwy o ddaioni, mwy o bereidd-dra, mwy o ragoroldeb, mwy o ogoniant, a mwy o ennill mewn cell-ddyledswyddau, nag a ddarfu iddynt hwy erioed ei ddeall, ei deimlo, na'i brofi; a bod eu gweision tylodion yn well ac yn fwy cyfiawn na hwynt-hwy. Sotomen a rydd hanes fod buchedd benyw dylawd gaeth Gristionogol, wedi gwneuthur i frenin a'i holl deulu gofleidio ffydd Iesu Grist. Y mae gweithredoedd da yn argyhoeddi mwy na gwyrthiau eu hunain.

Darllenais am un Pachomius, milwr dan Cwstenin yr Amherawdwr, pan oedd ei fyddin yn mron newynu gan eisieu bwyd, efe a ddaeth at ddinas o Gristionogion, a hwynt-hwy, o'u haelioni eu hunain, a'u diwallasant yn fuan ac yn rhad; gan ryfeddu wrth eu haelioni rhad a rhagorol, efe a ofynodd pa ryw fath bobl oeddynt, y rhai a weledd efe mor haelionus? Atebwyd mai Cristionogion oeddynt, proffes pa rai yw, na niweidiont neb, ond gwneuthur da i bawb. Ar hyn Pachomius, wedi ei argyhoeddi o ragoroldeb y grefydd hon, a daflodd ymaith ei arfau, ac yn y fan a ddaeth yn Gristion. Craffwch, megys yr ennillir y gwŷr weithiau trwy

ymarweddiad eu gwragedd heb y gair, felly y gall meistri gael eu hennill trwy ymddygiad ac ymarweddiad graslawn eu gweision heb y gair.

Y gwas, wrth brynu amser at ddyledswyddau dirgel ar yr ammodau caletaf a chreulonaf, a all fod y fath fendith ag i fendithio y meistr, fel ag i ddiweddu yn ei argyhoeddiad, ei ddychweliad, a'i iachawdwriaeth. Y mae yma *fe allai* am dani, ac fe ddylai y *fe allai* hyny fod yn annogaeth ddigonol i bob gwas graslawn, wneuthur yr oll a allo i achub enaid ei feistr rhag myned i waered i'r pydew uffernol.

(3.) Oblegid y gwas, wrth brynu amser allan o'i gwsg, dadebriadau, a bwyd-brydiau, at weddi ddirgel, a ddengys, yn y modd mwyaf amlwg a digonol, y cariad neillduol, yr hyfrydwch mawr, a'r bri uchel sydd ganddo ar weddi ddirgel. Dywedwn fod y plant hyny yn caru eu llyfrau yn dda, ac yn ymhyfrydu yn fawr mewn dysgeidiaeth, y rhai a fyddant wrth eu llyfrau pan y mae ereill wedi myned i'w gwely, a'r rhai a fyddant wrth eu llyfrau cyn y byddo ereill wedi codi. Y mae y rhai hyny, yn ddiau, yn caru gweddi ddirgel yn odiaeth, ac y maent yn mawr ymhyfrydu mewn cymundeb gyda Duw, ag sydd yn gweddïo pan y mae ereill yn cysgu, ag sydd yn cyfarch eu Duw yn y dirgel cyn y byddo eu meistres wedi trwsio ei hunan yn y drych, neu eu cydweision wedi trwsio eu hunain at y masnachdŷ.

(4.) Oblegid y gwas, wrth brynu amser at weddi ddirgel, allan o'i gwsg, bwyd-brydiau, dadebriadau, &c., a all fod o'r defnydd mwyaf i ereill o'r cyd-weision, i'w deffroi a'u hargyhoeddi hwynt hefyd, fod pethau crefydd o'r pwys mwyaf ac uchaf, ac nad oes yr un fasnach neu ennill i'w chymharu i'r fasnach ddirgel hòno sydd yn cael ei dwyn yn mlaen rhwng Duw ac enaid y dyn ei hun; ac hefyd idd eu cadw rhag ofera a difyru ymaith yr amser hwnw yr hwn sydd yn briodol ac yn wirioneddol yn eiddo eu meistr, ac wrth gyfraith freninol y nefoedd, a ddylai gael ei dreulio yn gwbl ac yn hollol

yn eu gwasanaeth hwy; oblegid pa was gofalus sydd yna yn y byd, na wnai ddadlu fel hyn?—Yr wyf yn gweled y gwna y rhai hyn a'r rhai hyn o'm cyd-weision, brynu amser at weddi ddirgel, ac at ddyledswyddau ystafellol ereill, hyd yn nod o'u cwsg, bwyd-brydiau, dadebriadau, &c., yn hytrach nag y benthycant, neu y gwnant yn eofn ar yr amser hwnw a eilw eu meistr yn eiddo ef, a phaham y byddaf fi mor ynfyd ag i ofera ymaith yr amser hwnw, yr hwn a ddylai gael ei dreulio yn ngwasanaeth fy meistr, neu er budd fy meistr?

(5.) Oblegid y gwas, wrth brynu amser at weddi ddirgel allan o'i gwsg, ei fwyd-brydiau, ei ddadebriadau, &c., nis gall lai na boddloni Duw, a'r hyn a rydd fwyaf o gysur iddo pan y dêl i farw. Pa fwyaf y gweithredo unrhyw galon dylawd yn erbyn gwaed a chnawd, mwyaf oll y mae efe yn boddloni Duw; pa fwyaf y gwna calon dylawd ymwadu â hi ei hun, mwyaf oll y mae hi yn boddloni Duw; pa fwyaf y gweithredo calon dylawd yn erbyn ffrwd o siamplau pechadurus, mwyaf oll y mae efe yn boddloni Duw; pa fwyaf o anhawsderau a digalondid sydd yn cyfarfod â chalon dylawd yn nghyflawniad ei dyledswyddau, mwyaf oll o gariad a ddengys efe at Dduw; a pha fwyaf o gariad a ddengys calon dylawd at Dduw, mwyaf oll y mae efe yn boddloni Duw: Jer. ii. 2, 3, "Cerdda, a llefa yn nghlustiau Jerusalem, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Cofiais di, caredigrwydd dy ieuengctyd, a serch dy ddyweddi, pan y'm canlynaist yn y diffeithwch, mewn tir ni hauwyd. Israel *ydoedd* santeiddrwydd i'r *Arglwydd, a* blaenffrwyth ei gnwd ef: pawb oll a'r a'i bwytao, a bechant; drwg a ddygwydd iddynt, medd yr *Arglwydd.*" Cafodd Duw ei foddloni yn fawr, a'i foddhau yn hynod, â chariad neillduol a serchiadau rhagorol ei bobl tuag ato, pan ei canlynasant, ac y cadwasant yn agos ato ef, yn y daith faith a blin hòno trwy yr anialwch gwag erchyll: pa fodd y mae yr holl bethau hyn yn cyd-gyfarfod yn y gwas duwiol hwnw sydd yn prynu

amser at weddi ddirgel ar yr ammodau caletaf dychymygadwy, gadawaf y darllenydd i farnu. Yn ddiau, ar wely angeu, nis gall tafod draethu, na chalon ddychymygu, ond yr hon a'i teimlo, y cysur annhraethadwy a weinydda dyledswyddau ystafellol i'r hwn a ymarferodd ei hun ynddynt, ar yr ammodau celyd hyny sydd dan sylw. Ond—

9. Yr wyf yn ateb, os ydwyt yn was graslawn, yna y mae y berthynas agos ac anwyl sydd rhwng Duw a thithau, yn uchel alw am weddi ddirgel. Megys yr ydwyt yn was dy feistr, felly gŵr rhydd i'r Arglwydd ydwyt: 1 Cor. vii. 22, 23, "Canys yr hwn, ac efe yn was, a alwyd yn yr Arglwydd, gŵr rhydd i'r Arglwydd ydyw: a'r un ffunud yr hwn, ac efe yn ŵr rhydd, a alwyd, gwas i Grist yw. Er gwerth y'ch prynwyd; na fyddwch weision dynion." Naill ai, pan orchymynont i chwi bethau gwaharddedig, neu pan y gwaharddont i chwi beth gorchymynedig gan Grist, neu pan arferont reolaeth ar eich ffydd, neu arglwyddiaeth ar eich cydwybodau, na oddefwch eich hunain, mewn pethau ysbrydol, i gael eich dwyn i'r fath gaethiwed gan neb dynion neu feistri yn y byd, ac i beidio defnyddio y rhyddid a'r fraint a bwrcasodd Crist i chwi â'i werthfawrocaf waed. Nid yw i neb gweision wasanaethu eu meistri mewn gwrthwynebiad i Grist; nac i neb gweision wasanaethu eu meistri fel meistri ysbrydol; nac i neb gweision wasanaethu eu meistri megys meistri uwchraddol, ond megys meistri îs-raddol, Eph. vi. 5—7; ac megys y mae pob gwas graslawn yn ŵr rhydd i'r Arglwydd, felly y mae pob gwas graslawn yn gyfaill i'r Arglwydd, Esay xli. 8, Iago ii. 23, Ioan xv. 13—15; ac megys y mae pob gwas graslawn yn gyfaill i'r Arglwydd, felly y mae pob gwas graslawn yn fab i'r Arglwydd, Galat. iv. 5, 6, Rhuf. viii. 16; ac megys y mae pob gwas graslawn yn fab i'r Arglwydd, felly y mae pob gwas graslawn yn ddyweddi i'r Arglwydd, Hosea ii. 19, 20, 2 Cor. xi. 12.

Ac yn awr, appeliaf at gydwybodau pawb a brofasant fod yr Arglwydd yn dirion, os nad yw y berthynas agos ac anwyl ag sydd rhwng Duw a gweision duwiol, yn uchel alw arnynt i gymeryd pob cyfle a mantais ag sydd bosibl iddynt gael, i dywallt allan eu holl eneidiau ger bron yr Arglwydd yn y dirgel, ac i hysbysu iddo yn y dirgel, eu holl anghenion, gwendidau, dymuniadau, &c.? Ac fel y mae gweision graslawn yn y modd yma yn perthyn yn agos ac yn anwyl i Dduw, felly y mae gweision graslawn wedi eu breintio yn fawr iawn gan Dduw. Y mae gweision graslawn cyn rhydded oddi wrth arglwyddiaeth pechod, a'i allu damniol, ag yw meistri graslawn. Y mae gweision graslawn cyn rhydded oddi wrth uffern, oddi wrth felldith y ddeddf, ac oddi wrth ddigofaint Duw, ag yw eu meistri graslawn. Y mae gweision graslawn mor fabwysiedig, mor gymodedig, mor faddeuedig, mor gyfiawned, ac mor brynedig, ag yw eu meistri graslawn. Y mae gweision graslawn yn gymaint etifeddion, etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ, ag yw meistri graslawn. Y mae gweision graslawn yn gymaint rhywogaeth etholedig, brenhinol offeiriadaeth, cenedl santaidd, pobl briodol, wedi eu galw allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef, ag yw eu meistri graslawn. Ac am hyny, gan fod ganddynt yr un hawl i'r holl ragorfreintiau mawr a gogoneddus hyny, y rhai sydd yn perthyn i saint fel saint, y maent yr un modd mor rhwymedig a chlymedig â'r dyledswyddau hyny ag sydd yn gorphwys ar saint fel saint, yn mhlith pa rai y mae gweddi ddirgel yn un; ac am hyny, annogir hwynt at y ddyledswydd hon yn erbyn pob rhesymau a gwrthddadleuon pa bynag.

10. Yr wyf yn ateb, fod y wobr addawedig yn y testyn, yn gorwedd yr un mor dêg ac agored i'r gwas ag i'r meistr, i'r caeth ag i'r rhydd, ac i'r gwladwr ag i'r tywysog. Pwy bynag sydd yn gweddïo ar ei Dad nefol, bydded ef uchel neu isel, cyfoethog neu dylawd, anrhydeddus neu wael, gwas neu feistr, efe a dderbyn

dâl cyhoeddus. Nid yw y wobr yn y testyn yn cael ei chyfyngu neu ei chaethiwo i'r rhyw neu y gradd hyn neu acw o ddynion; ond y mae i gael ei hestyn i bob gradd a rhyw o ddynion ag sydd yn gwneyd cydwybod o weddi ddirgel. Felly Eph. vi. 5—8, "Y gweision ufuddhewch i'r *rhai sydd* arglwyddi *i chwi* yn ol y cnawd, gydag ofn a dychryn, yn symlrwydd eich calon, megys i Grist. Nid â golwg-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, ond fel gweision Crist, yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon; Trwy ewyllys da yn gwneuthur gwasanaeth, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion; gan wybod mai pa ddaioni bynag a wnelo pob un, hyny a dderbyn *efe* gan yr Arglwydd, pa un bynag ai caeth ai rhydd *fyddo*." Col. iii. 22. 24, "Y gweision, ufuddhewch yn mhob peth i'ch meistriaid yn ol y cnawd; nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, eithr mewn symlrwydd calon, yn ofni Duw: A pha beth bynag a wneloch, gwnewch o'r galon, megys i'r Arglwydd, ac nid i ddynion; gan wybod mai gan yr Arglwydd y derbyniwch daledigaeth yr etifeddiaeth: canys yr Arglwydd Crist yr ydych yn ei wasanaethu." Y cyfryw weision ag sydd yn gwasanaethu eu meistriaid yn ffyddlon, yn ddiffuant, ac mewn symlrwydd ysbryd, a dderbyniant wobrwy gras. Y gwas gwaelaf, ag sydd yn ffyddlon yn ngwasanaeth ei feistr, a dderbyn yn daledigaeth, yr etifeddiaeth dragwyddol.

Taledigaeth y gwobrwy yn yr ysgrythyrau a goffawyd ddiweddaf, nid yw o haeddiant, ond o ras; oblegid nid yw yr etifeddiaeth yn perthyn i neb ond i blant yn unig, ar gyfrif eu genedigaeth trwy fabwysiad. Gweision ffyddlon, o fod yn weision, a wneir yn feibion, ac felly mwynhant yr etifeddiaeth nefol. Y mae Crist yn feistr mor rhagorol, fel na oddef i un gwasanaeth a gyflawnom i ddynion, o gydwybod i'w orchymyn ef, fyned yn ddiwobr. O! pa faint mwy y gwobrwya efe weision duwiol am y gwasanaeth ysbrydol hyny a ddarfu iddynt ei gyflawni er ei fwyn ef, ac i'w ogoniant ef!

Y mae Duw yn feistr mor hael, fel na chaiff neb gymaint a chau drws, neu gyneu tân ar ei allor ef, neu roddi cwpanaid o ddwfr oer, (un o'r dadebriadau lleiaf, parotaf, a gwaelaf a all fod,) heb iddo gael ei wobrwyo.

Y mae yn sylw rhagorol o eiddo Calfin, ar Dduw yn gwobrwyo ufudd-dod y Rechabiaid, Jer. xxxv. 19. Y mae Duw (eb efe) yn aml yn gwobrwyo cysgodau ac ymddangosiadau rhinwedd, i ddangos pa hyfrydwch a gymer efe yn lliosogrwydd y gwobrwyon a gadwodd efe i wir a diffuant dduwioldeb. Nebuchodonozor, er yn orthrymwr, eto, wedi ymrwymo yn ngwasanaeth Duw yn erbyn Tyrus, a gaiff yr Aifft fel ei wobr, am ei drafferth yn Tyrus. Y mae yn hen enllib ac athrod wedi ei thaflu ar Dduw, ei fod yn feistr caled, ac yn arglwydd anhael, ac nad oes dim i'w gael yn ei wasanaeth ef, ond ergydion, tarawiadau, clwyfau, croesau, colledion, &c., pan y mae efe yn wobrwyr, nid yn unig i'r rhai sydd yn ei ddyfal geisio ef, eithr hyd yn nod i'r gwaethaf o ddynion ag sydd yn gwneuthur unrhyw wasanaeth drosto ef. Darllenais am Herod Agrippa, (yr un ag a darawyd gan yr angel, ac a yswyd gan bryfaid am na roisai y gogoniant i Dduw, Act. xii. 23,) pan yr oedd wedi ei rwymo mewn cadwynau, a'i anfon i garchar gan Tiberius, am ddymuno Caius i'r amherodraeth, un Thaumastus, gwas o eiddo Caius, wrth ddwyn ystenaid o ddwfr, a'i cyfarfu ef, pan yr oedd Agrippa yn sychedig iawn, dymunodd arno roddi iddo ychydig o ddwfr i'w yfed, yr hyn a wnaeth yn ewyllysgar; ar hyn dywedodd Agrippa, "Y gwasanaeth hyn a wnaethost yn rhoddi peth i'w yfed i mi, a wna i ti ddaioni ryw ddydd." A bu cystal a'i air; canys wedi hyn, pan yr oedd Caius yn amherawdwr, ac Agrippa wedi ei wneyd yn frenin Judea, yn gyntaf cafodd ei ryddid, ac yna gwnaeth ef yn swyddog penaf ar ei deulu; ac ar ol ei ymadawad, cafodd orchymyn ar iddo barhau yn yr un swydd gyda'i fab. Yn awr, pa faint mwy, gan hyny, y gwobrwya Brenin y breninoedd, yr holl weision duwiol tylodion

hyny o'i eiddo, sydd nid yn unig yn rhoddi iddo ef, yn ei aelodau, gwpanaid o ddwfr oer, ond hefyd sydd yn prynu amser allan o'u gorphwys, eu bwyd-brydiau, a'u dadebriadau, fel y gallont gael rhyw amser i geisio presenoldeb Duw yn y dirgel. Yn ddiau, nid oes un ochenaid, un gruddfaniad, un weddi, nac un deigryn, a dywelltir gan was tylawd yn y dirgel, na chaiff yn y diwedd ei ystyried a'i wobrwyo gan y Duw mawr. Dywed Lyra i Mordecai ddysgwyl chwe mlynedd cyn i'w wasanaeth da ef gael ei wobrwyo gan y brenin Ahasferus. Fe allai y gwobrwya Duw di yn gynt am dy holl wasanaeth ystafellol; ond os na wobrwya efe di yn gynt, efe a'th wobrwya yn ddiau yn well; efe a'th wobrwya di âg uwch anrhydedd, â mwy o urddas, â gwisgoedd mwy gogoneddus, â choron mwy breiniol, sef coron anllygredig, coron cyfiawnder, coron y bywyd, a choron gogoniant. Ac am hyny, daliwch yn mlaen, daliwch allan, yn eich ymneillduadau dirgel. Er y gall rhai eich dirmygu, ereill eich gwawdio, a'ch meistri cnawdol eich gwangaloni, eto, ffyddlon yw Duw, efe a'ch gwobrwya yn ddiau; ïe, efe a dâl yn yr amlwg am holl dywalltiadau dirgel eich heneidiau yn ei fynwes."

## Gwrthddadl III.

Gall ereill wrthddadlu yn mhellach, a dywedyd, "Ond O! nis gallwn ni weddïo yn unig; yr ydym ni yn fyr o'r doniau a'r cynysgaeddiadau hyny ag sydd gan ereill; ac yr ydym ni wedi ein cau i fyny, ac nis gwyddom ni pa fodd i dywallt allan ein heneidiau ger bron Duw yn y dirgel. Ni a weddïem yn ewyllysgar, ond yr ydym ni yn fyr o ddoniau i dywallt allan ein heneidiau ger bron yr Arglwydd.

Ateb 1. Y mae anwylaf blant Duw weithiau wedi eu cau i fyny: gallant, gyda Zecharias, am dymor, gael eu tarao yn fud, ac yn analluog i lefaru: Salm lxxvii. 4, "Synodd arnaf, fel na allaf lefaru." Salm xxxviii. 9,

"O'th flaen di, Arglwydd, y mae fy holl ddymuniad; ac ni chuddiwyd fy uchenaid oddi wrthyt." Y mae plant anwylaf Duw weithiau wedi eu cau i fyny, fel na allant ddywedyd dim, na gwneuthur dim, ond gruddfan. Gall plentyn Duw weithiau gyfarfod â'r fath ergyd oddi wrth Dduw, oddiwrth gydwybod, oddi wrth ysgrythyr, oddi wrth Satan, neu oddi wrth y byd, fel ag i'w frawychu am dymor, fel ag i fod yn analluog i lefaru gair wrth Dduw, na llefaru wrth ereill, na llefaru wrth ei galon ei hun. Gwel, megys nad yw yr Ysbryd Glân bob amser yn Ysbryd yn dysgu, na phob amser yn Ysbryd yn arwain, na phob amser yn Ysbryd yn cysuro, na phob amser yn Ysbryd yn selio, na phob amser yn ysbryd yn tystiolaethu, na phob amser yn Ysbryd yn rhoddi sicrwydd i'r holl saint; felly nid yw bob amser yn Ysbryd yn erfyn yn neb o'r saint. Pan y caffo ei dristau, ei ofidio, a'i demtio, gall attal ei ddylanwadau grasol, a nacau ei gynorthwy i'r enaid; a pha beth a all y Cristion ei ddywedyd na'i wneuthur? Ond—

2. Yr wyf yn ateb, ni elli di weddio; ond ai nid elli nac ocheneidio na gruddfan chwaith? Gall fod ysbryd mabwysiad mewn ocheneidiau a gruddfanau, cystal ag mewn gweddi lefgar, Rhuf. viii. 26. Nid yw grym. rhinwedd, effeithioldeb, a rhagoroldeb gweddi yn gynwysedig mewn lliosogrwydd ac ardderchogrwydd geiriau, ond yn ysgogiadau goruwchnaturiol yr ysbryd, yn ocheneidiau, gruddfanau, gwasgfeuon, a serchiadau grymus y galon, y rhai sydd yn anllafaradwy ac anrhaethadwy. Yn ddiau, y mae gwir enaid gweddi yn gorphwys mewn bod dyn yn tywallt allan ei enaid ger bron yr Arglwydd, er na bydd ond mewn ocheneidiau, gruddfanau, a dagrau, 1 Sam. 13—19. Un ochenaid a gruddfaniad allan o galon ddrylliedig, sydd yn fwy boddhaol gan Dduw na phob dynol hyawdledd.

3. Yr wyf yn ateb, dymuna ar Dduw i'th ddysgu di i weddïo. Y mae Duw wedi addaw ei Ysbryd santaidd i'r rhai a'i gofyno: Luc xi. 13, "Os chwychwi, gan

hyny, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch plant chwi, pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofyno ganddo?" Ezec. xxxv. 26, 27, "A rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi; a thynaf y galon garreg o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i chwi galon gig. Rhoddaf hefyd fy ysbryd o'ch mewn, a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau, a'u gwneuthur." Ezec. xi. 19, "A rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch; tynaf hefyd y galon garreg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig." Zech. xii. 10, "A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddïau; a hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wânasant, galarant hefyd am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac ymofidiant am dano ef megys un yn gofidio am ei gyntaf-anedig." Yn awr, addewidion graslawn yw ysgrif-rwymau Duw, ac y mae efe yn caru gweled ei bobl yn eu dadleu hwynt. Y mae yn dysgwyl i ni fod yn rhai yn ei gofio, ac i ni weddïo drosodd ei addewidion. Pan addawodd efe bethau mawr i'w bobl am gyfiawnhad, santeiddhad, a chynaliaeth, y mae yn cysylltu "eto ymofynir â myfi gan dŷ Israel i wneuthur hyn." Y mae Duw yn ystyried y dylem ni agor ei addewidion graslawn ger ei fron, megys y gwnaeth Hezeciah â llythyr Senacherib. Nid yw Duw un amser yn fwy boddhaol na phan y mae ei bobl yn ei ddyfal geisio ef yn ei eiriau ei hun, a'i gymhell ef â rhesymau wedi eu tynu oddi wrth ei addewidion ef ei hun. Er fod Duw yn Dad tyner iawn, ac yn Dad haelionus iawn, eto nid ydyw yn Dad afradlon, oblegid ni theifl efe byth mo'i drugareddau ymaith ar y cyfryw na ddadleuant yn ostyngedig a thaer, ei addewidion. Y mae Duw yn caru i'w ymofyn, ac i'w geisio am roi trugareddau, a gwneuthur yn dda ei addewidion gwerthfawr. Tydi a ddywedi nas gelli di weddïo, ond ai nid elli di fyned i fanau dirgel, ac agor

yr addewidion graslawn ger bron yr Arglwydd, a dywedyd wrtho pa gymaint y mae yn perthyn i'w anrhydedd a'i ogoniant, cystal ag i dy les amserol a thragwyddol dithau, i wneuthur yn dda yr addewidion graslawn hyny a wnaeth, am roddi ei Ysbryd i'r rhai a'i gofyno, a'i osodiad o'i Ysbryd o'u mewn, a'i dywalltiad o ysbryd gras a gweddïau arnynt.

Darllenwn am Tamar, pan orweddodd Judah ei chwegrwn gyda hi, iddi hi gymeryd yn lle gwystl, ei sel, ei freichledau, a'i ffon; ac ar ol hyny pan yr oedd hi mewn cyfyngder mawr, ac yn barod i gael ei llosgi megys putain, yna y dygodd hi allan ei ffon, ei sel, a'i breichledau, gan ddywedyd, "O'r gŵr bïau y rhai hyn yr ydwyf fi yn feichiog;" a thrwy hyny achubodd ei bywyd. Y mae yr addewidion megys cynifer o fŵn-gloddiau cyfoethog; y maent megys cynifer o flodeu dewisol paradwys; ymborth, bywyd, a grym yr enaid ydynt; y maent fel ffon i gynal yr enaid, ac fel sel a breichledau i addurno yr enaid, ac i'w gyfoethogi; ac am hyny, dylai pechaduriaid tylodion eu dwyn allan, a'u gosod ger bron yr Arglwydd, a chymhell Duw â hwynt. Nid oes un ffordd ar y ddaear i achub enaid, ac i ragflaenu uffern losgedig, fel hon. Yn nghylch yr addewidion gwerthfawr, rhoddaf i chwi yr wyth nodiad hyn,—

(1.) Eu bod wedi eu hadrodd a'u dodi ar lawr yn wirioneddol gan Dduw, Marc v. 30.

(2.) Y cyflawnir hwynt yn ddiau, 2 Cor. i. 20. Y maent oll wedi eu gwneuthur yn a thrwy Grist; gwnaethpwyd hwy yn gyntaf i Grist, ac yna i bawb sydd yn mwynhau ac yn dal cymdeithas âg ef.

Yr oedd Sirtorius, medd Plutarch, yn talu yr hyn a addawodd â geiriau têg: ond nid yw Duw yn gwneyd felly. Y mae dynion yn aml yn dywedyd ac yn dad-ddywedyd; y maent yn bwyta eu geiriau mor fuan ag y darfu iddynt eu llefaru; ond ni fwyty Duw byth y geiriau a aeth allan o'i enau ef: Esay xlvi. 10, 11, "Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf: dywed-

ais, a mi a'i dygaf i ben; mi a'i lluniais, a mi a'i gwnaf."

(3.) Eu bod yn dylifo o rad ras, o gariad neillduol, ac o ddaioni dwyfol.

(4.) Eu bod oll mor annghyfnewidiol a'r hwn a'u gwnaeth.

(5.) Eu bod oll wedi eu sylfaenu ar wirionedd, ffyddlondeb, a holl-ddigonolrwydd Duw.

(6.) Eu bod yn wystlon a chynwystlon o'r pethau mawr a wna Duw i'w bobl mewn amser.

(7.) Eu bod yn dystiolaethau mwyaf sicr a dilys o ffafr ddwyfol, ac yn gyhoeddiad o galon ac ewyllys da Duw i'w bobl.

(8.) Mai gwerth gwaed Crist ydynt.

Yn awr, mor fawr y dylai yr holl bethau hyn galonogi eneidiau tylodion i barhaus annog Duw â'i addewidion ei hun!

4. Chwi a ddywedwch na ellwch chwi weddïo; O na wnaech roi heibio wrthddadlu, a myned at weddi! Os na ellwch weddïo fel y dylech, neu fel y dymunech, gweddiwch fel y gallwch. Fe safodd brodyr Joseph cyhyd yn gohirio, yn oedi, ac yn ofera ymaith eu hamser, pan oedd ganddynt daith i fyned i brynu ŷd, fel y gallasent brynu a dychwelyd ddwywaith, cyn iddynt fyned a phrynu unwaith. Pan alwodd Elias Eliseus, y mae efe yn myned oddi amgylch i'r perthi; yr oedd yn rhaid iddo fyned i ganu yn iach i'w dad a'i fam, cyn y gallasai ganlyn y prophwyd. O gyfeillion! gochelwch y gohirio yr oedi, a'r ofera, gan fyned oddi amgylch y perthi, pan y dylech ymaflyd yn y gwaith o weddïo. Beth, er gyda Hannah, nis gellwch ond wylo allan weddi; neu gyda Moses, gecian allan weddi; neu gyda Hezeciah, drydar allan weddi; eto, gwna yr oll fel y gallot, a chei dderbyniad gyda Duw: 2 Cor. viii. 12, "Canys os bydd parodrwydd meddwl o'r blaen, yn ol yr hyn sydd gan un, *y mae* yn gymeradwy, nid yn ol yr hyn nid oes ganddo." Nid llawer o areithyddiaeth neu hyawdledd oedd yn ngweddi

y Publican, "O Dduw bydd drugarog wrthyf fi bechadur;" ac eto cymeradwyodd Duw hi. Efe a weddïodd lawer, er na lafarodd ond ychydig; ac ni thrôdd Duw glust fyddar tuag ato. Y Duw hwnw a gymeradwyodd lonaid llaw o flawd yn aberth, ychydig flew geifr ynoffrwm, a dwy hatling y weddw dylawd, megys pe buasent ddwy filiwn, a gymmeradwya, yn ddiau, yr hyn ydwyt yn alluog i'w wneuthur, er i ti fod yn ddiffygiol; ïe, yn ddiffygiol iawn o'r hyn a ddylit ei wneuthur. "Arglwydd, (meddai Luther,) yr wyt yn gorchymyn i mi weddïo: ni allaf weddïo fel y dymunwn, eto mi a ufuddhaf, oblegid er na fydd fy ngweddi i yn gymeradwy, eto cymeradwy yw dy orchymyn dy hun i ti." Pe gwnai Cristionogion gweiniaid ond gosod allan mewn gweddi, yr ychydig nerth hyny sydd ganddynt, gwnai Duw yn fuan adnewyddu eu nerth ysbrydol; efe a'u dygai hwynt yn ddiau o nerth i nerth; efe a wnai, trwy gynorthwyadau dirgel, a dylanwadau dirgel, eu nerthu hwynt yn barhaus yn mlaen yn eu masnach nefol. Megys y cymer tad cu, hoff, ei blentyn bychan yn ei freichiau, ac a'i dwg yn ei ffordd tuag adref, pan y mae ei nerth yn dechreu methu, ac na all gerdded rhagor, a'r ffordd yn myned yn llithrig neu yn anwastad, felly y gwna Dnw a'r eiddo yntau: Hos. xi. 3, "Myfi a ddysgais i Ephraim gerdded, (megys y gwna mammaeth y baban,) gan eu cymeryd erbyn eu breichiau." Pan ddêl plant tylodion Duw i ffordd ddyrys, neu leoedd geirwon, y mae efe yn eu cymeryd i fyny yn ei freichiau ei hun, ac yn eu cynorthwyo dros sigleni o groesau ac anhawsderau dyledswyddau, a thros yr holl gyni, y cyfyngder, a'r gwendid ysbryd hwnw, ag sydd yn eu canlyn yn eu cyflawniadau ystafellol.

Y mae yn nodadwy, mai pan yr oedd brenin Israel i saethu y saeth, iddo osod ei law ar y bwa, ac i Eliseus osod ei law ar law y brenin. Felly pan yr elom ninau i'n hystafelloedd yr ydym i osod i fyny ein llaw, ac yna gesyd ysbryd Duw ei law ar ein llaw ni, a gesyd ei nerth at

ein nerth ni, neu yn hytrach at ein gwendid: Rhuf. viii. 26, "A'r un ffunud y mae yr Ysbryd hefyd yn cynorthwyo ein gwendid ni." Dyrchafa gyda ni, neu cydgynorthwya gyda ni. Y mae y gair Groeg yn arwyddo yn briodol y fath gymhorth, megys pe byddai dyn arall o nerth a grym yn dyfod yn mlaen i gynal y baich a fyddai yn gorwedd ar ein hysgwyddau, bydded foncyff, neu ddernyn o bren, gan osod ei ysgwyddau dano, i godi i fyny a chynal rhan o hono gyda ni; neu ein cynorthwyo ni megys y cynorthwya mammaeth ei phlentyn bychan, gan ei gynal ef erbyn ei lawes. Pan y mae y Cristion tylawd yn gosod ei hun i weddi ystafellol, neu i alaru, neu i gredu, neu i ufyddhau, yna y mae yr Ysbryd yn dyfod i mewn gyda dylanwad a chynorthwy newydd, ac felly ei ddwyn yn mlaen yn yr holl wasanaethau rhagorol hyn. Daw y plentyn hwnw nad yw ond bloesg ar y cyntaf, mewn amser, i lefaru yn eglur ac yn ffraeth. O! pa gynifer o Gristionogion y sydd, a allant yn awr weddïo gyda rhyddid, rhwyddineb, a ffraethder mawr, y rhai nid allent ar y cyntaf ond yn unig ocheneidio, mynial, neu wylo allan weddi. Tydi a ddywedi na elli di weddïo; ond pe gwnait ti ond annog dy hun i ufyddhau i'r gorchymyn hwnw, Mat. vi. 6, fel y gelli, pwy a ŵyr nad elai nerth gyda'r gorchymyn, fel ag i dy alluogi di i weithredu yn addas i'r gorchymyn? Yn Mat. ix. 1—9, y mae Crist yn dywedyd wrth y claf o'r parlys, "Cyfod, a rhodia—cymer dy wely i fyny, a dos i'th dŷ." Gallasai y claf o'r parlys wrthddadlu, "Och! myfi a ddygir gan bedwar, nid wyf fi yn alluog i syflyd aelod, llawer llai i gyfodi, eithr llai na'r cwbl i gymeryd i fyny fy ngwely, a rhodio," &c. O! ond er y cwbl, ymysgydwodd i fyny fel y gallai; ac aeth nerth allan gyda'r gorchymyn, ac a'i galluogodd i wneuthur yr hyn oedd orchymynedig. Felly Mat. xii. 10—14. Yr oedd yno ddyn tylawd a chanddo law wywedig, ac y mae Crist yn gorchymyn iddo i estyn allan ei law. Gallasai ateb,

"Y mae fy llaw yn wywedig, a phe cawn gynifer o fyd-oedd ag sydd o ddynion yn y byd, am ei hestyn allan, nis gallwn i ei hestyn allan; ïe, pe bae fy unig fywyd, pe bae fy unig iachawdwriaeth yn gorphwys ar estyn allan fy mraich wywedig, nis gallwn ei hestyn hi allan." Ond O! tröodd ef yr holl gyfryw esgusodion o'r neilldu, a chydsyniodd â gorchymyn Crist, ac aeth nerth allan, a'i law a iachawyd. O feistriaid! pe gwnaech ond gweddïo yn eich hystafelloedd, oreu y medrech, ni wyddoch na ddylifai y fath allu a rhinwedd oddi wrth Grist i'ch calonau, fel ag i'ch dwyn yn mlaen yn eich dyledswyddau ystafellol uwchlaw dysgwyliad, hyd yn nod i syndod. Profodd ereill hi felly, a phaham na chewch chwithau felly? Cofiwch nad yw Duw ddim yn nodwr cywrain a berniadol o'r ymadroddion syml ag sydd yn syrthio oddi wrth ei blant tylodion pan y maent yn eu dyledswyddau ystafellol: y mae ef y fath Dad ag sydd yn foddlon iawn i ymadroddion canddrill a bloesgniadau dwyfol ei bobl pan y maent yn y dirgel. Nid dylifiad o eiriau, tyb-iadau myfyriol, ymadroddion seraphaidd, na dywediadau testlus mewn gweddi, sydd yn ennill clust nac yn bodd-loni calon Duw, sydd yn agor porth gogoniant, nac sydd yn dwyn i waered y goreu o fendithion ar yr enaid; eithr uniondeb, santeiddrwydd, nefolder, ysbrydolrwydd, a drylliedigrwydd y galon: dyma y pethau sydd yn peri goruchafiaeth ar Dduw, ac yn troi fwyaf at gyfrif yr enaid. Ond,

5. Tydi a ddywedi na elli weddïo: ond os plentyn Duw ydwyt, yr wyt yn feddiannol ar Ysbryd Duw, ac y mae Ysbryd Duw yn ysbryd gweddi a deisyfiadau. Fod holl blant Duw yn feddiannol ar Ysbryd Duw, sydd eithaf amlwg yn yr Ysgrythyrau bendigedig. Gwel Zech. xii. 10, "A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar bres-wylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddïau." Salm li. 11, "Na chymer dy ysbryd santaidd oddi wrthyf." Rhuf. viii. 15, "Chwi a dderbyniasoch Ysbryd mabwys-iad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad."

1 Cor. ii. 12, "A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw; fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." 1 Thes. iv. 8, "Yr hwn hefyd a roddes ei Ysbryd Glân ynom ni." 1 Ioan iii. 24, "Ac wrth hyn y gwyddom ei fod ef yn aros ynom, *sef* o'r Ysbryd a roddes efe i ni." Pen. iv. 13, "Wrth hyn y gwyddom ein bod yn trigo ynddo ef, ac yntau ynom ninau, am ddarfod iddo roddi i ni o'i Ysbryd."

Fod gan holl blant Duw Ysbryd Duw, a gadarnheir yn y saith nodiad hyn,—

(1.) Maent oll wedi eu santeiddio trwy yr Ysbryd: 1 Cor. vi. 11, "Chwi a santeiddiwyd—trwy Ysbryd ein Duw ni." Nid wyf yn dywedyd eu bod oll, trwy yr Ysbryd, yn gyfartal santeiddiedig; ond dywedyd yr wyf, eu bod oll, trwy yr Ysbryd, yn wirioneddol santeiddiedig. Er fod gan holl weision Crist eu talentau, eto nid oes gan yr oll eu deg talent, ac nid oes gan yr oll eu pum talent, na'u dwy dalent; nid oes gan rai ond un dalent. Er fod saig Benjamin bum cymaint a saig ei frodyr, eto yr oedd gan bob un *ei* saig. Felly, er fod gan rai bumwaith mwy mesur o'r Ysbryd, a mwy mesur o oleuni, o gariad, santeiddrwydd, a nefol-dueddrwydd, nag sy gan ereill, eto y mae gan bob Cristion ychydig fesur o'r Ysbryd, ac ychydig fesur o ras a santeiddrwydd. Er fod rhai yn fabanod yn Nghrist, ac ereill yn blant, er fod rhai yn wŷr ieuainc yn Nghrist, ac ereill yn henafgwyr yn Nghrist, eto y mae pob un wedi ei eni o Ysbryd Crist. Er nad oes neb o blant Duw, yn y byd hwn, yn cael yr Ysbryd yn gyflawn, eto y mae gan bob Cristion gymaint o'r Ysbryd ag a'i dwg at Grist, ac a ddwg ei enaid yn ddiogel i'r nefoedd yn y diwedd.

(2.) Maent oll dan arweiniad yr Ysbryd: Rhuf. viii. 14, "Canys y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw." Mae gan bob plentyn i Dduw arweinydd deublyg,—y gair oddi allan, a'r Ysbryd oddi

mewn, Esay xxx. 20, 21. Pa ddull y mae yr Ysbryd yn tywys â rheol y gair, a pha ddull y mae yn tywys at Dduw a Christ, ac yn tywys i wirionedd, cyfiawnder, santeiddrwydd, a dedwyddwch, ni chymeraf mewn llaw yn bresenol i'w amlygu.

(3.) Maent oll yn cael eu cynal a'u cadarnhau gan yr Ysbryd: Salm li. 12, "A'th hael ysbryd cynal fi;" neu atega fi, neu dal fi i fyny, fel y mae yn Hebraeg, â'th Ysbryd hael ewyllysgar; neu, fel y mae y Roeg yn ei droi, â'th Ysbryd ardderchog tywysogaidd. Felly Eph. iii. 16, "Fod wedi ymgadarnhau mewn nerth, trwy ei Ysbryd ef, yn y dyn oddi mewn." Wrth y dyn oddi mewn y dealla rhai, y rhan adgenedledig o ddyn; ereill wrth y dyn oddi mewn, a ddeallant yr enaid, yn nghyda'i holl gyneddfau ardderchog a'i ysgogiadau. Cymerwch y geiriau ffordd y mynoch, dilys yw mai oddi wrth yr Ysbryd Glân y mae yr holl nerth a'r grym ysbrydol sydd gan y Cristion. Er fod yr Ysbryd yn cadarnhau pob Cristion, yn y dyn oddi mewn, eto nid wyf yn dywedyd fod yr Ysbryd yn cadarnhau pob Cristion yn ogymaint yn y dyn oddi mewn. Mae gan rai gryfach llygrèdigaethau i'w darostwng nag ereill, a phrofedigaethau mwy gorthrechol i'w gwrthsefyll nag ereill, a thrugareddau mwy rhagorol i'w dyrchafu nag ereill, a dyledswyddau uwch a chaletach mewn crefydd i'w trin nag ereill, ac yn ganlynol y maent hwy wedi eu hymgadarnhau yn fwy yn y dyn oddi mewn nag ereill.

(4.) Maent oll yn gyfranogion o ffrwythau yr Ysbryd; Rhuf. viii. 23, "Ninau hefyd, y rhai sydd genym flaenffrwyth yr Ysbryd:" y rhai nid ydym ond megys dyrnaid o ŷd, mewn ystyr i'r holl gnwd. Yr holl ras a'r santeiddrwydd a dderbyniasom oddi wrth yr Ysbryd adgenedliadol ar y dychweliad cyntaf, nid yw ond rhyw ddafn o'r môr hwnw, rhyw hatling o'r talentau hyny a dderbyniwn yn y bywyd a ddaw.

(5.) Maent oll wedi eu dysgu gan yr Ysbryd: Ioan

xiv. 26, "Yr Ysbryd Glân, yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, efe a ddysg i chwi yr holl bethau."

Mae yr addewid hon yn perthyn, yn mlaenaf, i'r apostolion; yn ail, i bawb credinwyr.

Er i'r geiriau hyn gael eu llefaru ar y cyntaf wrth yr apostolion yn unig, eto ni chawsant eu llefaru am yr apostolion yn unig. Esay liv. 8. Mae tri o bethau yn cael eu haddaw i'r apostolion yn y geiriau hyn:

[1.] Goleuad digyfrwng gan Ysbryd Duw.

[2.] Cyflawn wybodaeth o'r holl wirioneddau hyny perthynol i'w swydd apostolaidd.

[3.] Hollol anffaeledigrwydd mewn mater o athrawiaeth.

Mae hefyd dri o bethau yn addawedig i bawb credinwyr:

[1.] Cyfryngol oleuad, gan ddysgu gwirioneddau trwy Ysbryd y gwirionedd yn yr ymarferiad o foddion gras.

[2.] Gwybodaeth o bob gwirionedd angenrheidiol er iachawdwriaeth.

[3.] Anffaeledigrwydd, mor bell ag yr ymlynont ac y cadwont yn agos at addysgiad yr Ysbryd yn y gwirionedd.

Dywed Philo fod y prif Gristionogion yn cael eu galw yn amaethwyr; oblegid megys y mae llafurwyr yn llafurio eu maesydd, ac yn gwrteithio eu tiroedd, felly yr oeddynt hwythau yn addysgu eu teuluoedd, ac yn dwyn i fyny eu plant a'u gwasanaeth-ddynion mewn hyfforddiad dda. O! dan ba fath addysgiadau rhagorol o eiddo yr Ysbryd yr oedd y prif Gristionogion hyn, y rhai oeddynt yn ei gwneuthur yn gymaint eu gorchwyl a'u gwaith i addysgu y rhai hyny ag oeddynt dan eu gofal. Felly 1 Ioan ii. 27, "Ond y mae yr eneiniad a dderbyniasoch ganddo ef, yn aros ynoch chwi, ac nid oes arnoch eisiau dysgu o neb chwi: eithr fel y mae yr un eneiniad yn eich dysgu chwi am bob peth, a gwir yw." Nid ein bod yn gwybod pob peth yn sengl, neu nad oes arnom eisiau yr un weinidogaeth i'n dysgu a'n cyfar-

wyddo: eithr llefaru yn gymhariaethol y mae. Ni'ch cynorthwyir gymaint trwy yr unrhyw addysgiadau heb yr Ysbryd a chyda'r Ysbryd: yr Ysbryd a fynega y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, yn fwy amlwg, yn fwy rhydd, yn fwy neillduol, yn fwy sicr, yn fwy cyffredinol, yn fwy effeithiol, nag y mae neb arall yn alluog i'w wneuthur. Yr Ysbryd, yr eneiniad santaidd hwn, a ddysg i'r saint bob peth; nid pob peth a gaiff neu a ellir ei wybod, oblegid y mae hyny yn anmhosibl i greaduriaid meidrol gyrhaeddyd ato. Pwy sydd yn deall ysgogiadau y nefoedd, llywodraeth ac ysgogiad y sêr, natur y creaduriaid, neu pa fodd y mae yr esgyrn yn cynyddu yn nghroth y feichiog? Pwy a ŵyr y rheswm paham y dylai afon Nilus orlifo yn yr haf, pan y mae y dyfroedd iselaf? Neu pa fodd y mae yr ehed-faen yn tynu haiarn ato, neu yn gogwyddo at y seren ogleddol?

Dywed Pliny wrthym am un a dreuliodd ddeunaw mlynedd a deugain mewn dysgu natur y wenynen, ac er hyny na chyraeddodd yn gyflawn ato. Pa fodd y mae yn bosibl ynte i'r naturiaethwr doethaf dreiddio i mewn i ddyfnion bethau Duw?

Paul, yr hwn a ddysgodd ei dduwinyddiaeth yn mhlith yr angylion, ac a gafodd yr Ysbryd Glân yn Athraw digyfrwng iddo, a ddywed yn eglur wrthym "nad oedd ef yn gwybod ond mewn rhan;" ac O! mor fychan, ynte, yw y rhan hòno a wyddom ni. Eithr y mae yr Ysbryd yn dysgu y saint yn yr holl bethau; hyny.yw,

*Yn gyntaf*, y mae yn dysgu iddynt yr holl bethau *sydd yn angenrheidiol* er iachawdwriaeth eu heneidiau, a'r holl bethau rheidiol i'w dwyn i'r nefoedd.

*Yn ail*, yr holl bethau angenrheidiol i fywyd a duwioldeb, 2 Pedr i. 3.

*Yn drydydd*, yr holl bethau angenrheidiol i'w lleoedd, galwadau, rhyw, oed, a'u sefyllfaoedd.

*Yn bedwerydd*, yr holl bethau angenrheidiol i chwi

eu gwybod i'ch cynal yn y gwirionedd, ac i'ch gwared rhag cael eich hudo a'ch denu gan yr athrawon gau hyny, am ba rai y llefara adn. 18, 19, 22, 23, 26. A hyn yn ddiau yw y peth penaf ag y mae Ioan yn cyfeirio ato yn yr ymadrodd hwnw. Yr *holl bethau* y llefara am danynt yn adn. 27, yn ol iaith gyffredin yr ysgrythyr, sydd o angenrheidrwydd i'w deongli yn unig am yr holl bethau hyn, y rhai y llefara yno am danynt. Ond,

(6.) Maent oll yn cael eu dyddanu gan yr Ysbryd: Act. ix. 31, "Gan rodio yn ofn yr Arglwydd, ac yn nyddanwch yr Ysbryd Glân." Rhuf. xiv. 17, "Canys nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod, ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân." 1 Thes. i. 6, "A chwi a aethoch yn ddylynwyr i ni, ac i'r Arglwydd, wedi derbyn y gair mewn gorthrymder mawr, gyda llawenydd yr Ysbryd Glân." Nid fod pawb Cristionogion, bob amser, yn cael gwir ddyddanwch neu wir lawenydd; O! na—oblegid megys y mae y wybr weithiau yn glir ac weithiau yn gymylog, ac megys y mae y môr weithiau yn treio ac weithiau yn llanw, felly y mae cysuron pobl Dduw weithiau yn treio ac weithiau yn llanw, weithiau yn glir ac weithiau yn gymylog.

Hudson, y merthyr, wedi ei adael wrth y pren dyoddef, a aeth yn rhydd o'i gadwynau, ac wedi gweddïo yn daer, cafodd ei gysuro yn ddiatreg, a dyoddefodd yn ddiysgog.

Felly yr oedd Mr. Glover y merthyr wedi ei adael yn y carchar; ond pan yr oedd yn myned at y pren dyoddef, edrychodd yn ol, a gwaeddodd allan ar ei gyfaill, "Efe a ddaeth, efe a ddaeth;" gan feddwl y Dyddanydd. Ac felly rhoddodd i lawr ei fywyd gyda llawenydd.

Rachel a wylodd, ac ni fynai ei chysuro; ymroddodd gymaint i wylofain, fel nad allai roddi lle i'r dyddanwch lleiaf; ac felly y mae yn aml gyda'r saint godidocaf. "Fy enaid a wrthododd ei ddyddanu," Salm lxxvii. 2. Nid fy nyben yn bresenol yw sefyll ar yr amrywiol ffyrdd drwy ba rai y mae pobl Dduw yn gwrthod eu dyddanu,

ac yn dyfod yn fyr o'r holl gysuron cryfion hyny ag y mae Duw yn foddlon iddynt gael eu mwynhau. Gall yr haul effeithioli lle na byddo yn tywynu, a dyn fod mewn cyflwr o achubiaeth, ac eto yn ddiffygiol o ddyddanwch. Gall dyn ofni yr Arglwydd, a gwrandaw ar lais ei was, ac er hyny fod yn rhodio mewn tywyllwch, ac heb lewyrch iddo. Nid oes un Cristion heb drallod weithiau yn ei gydwybod, a gofid yn ei galon, a dagrau yn ei lygaid, ofnau ac amheuon yn ei enaid, pa un ai Duw yw ei Dad, a Christ yw ei Waredwr, a pha un a ydyw trugaredd yn perthynu iddo; ïe, pa un a oes un addewid yn llyfr Duw yn perthyn iddo? Llawenydd a dyddanwch yw y danteithion hyny, y nefoedd beraiddfwyd hyny, â pha rai nid yw Duw yn gwledda ei blant bob dydd. Nid yw pob diwrnod yn ddiwrnod priodas, na phob diwrnod yn ddiwrnod cynhauaf, na phob diwrnod yn ddiwrnod o hâf. Nid yw y llo pasgedig yn cael ei ladd bob dydd, na'r wisg a'r fodrwy bob dydd yn cael eu gwisgo; ac nid yw pob diwrnod yn ddiwrnod o wledda neu ddawnsio. Megys y mae amser i ganu, felly y mae amser i ocheneidio; megys y mae amser i chwerthin, felly y mae amser i wylo; ac megys y mae amser i ddawnsio, felly y mae amser i alaru. Ni sychir ymaith bob deigryn oddi wrth ein llygaid hyd nes y tynir ymaith bob pechod o'n calonau. Er hyny oll, y mae gan eneidiau graslawn sylfeini cadarn bob amser am ddyddanwch; y mae ganddynt addewidion a blaenffrwyth yr Ysbryd; y mae ganddynt undeb â Christ, a hawl i fywyd tragwyddol, er nad oes ganddynt bob amser gysuron teimladol. Mae gan blant Duw achos bob amser i weithredu ffydd a gobaith ar Dduw yn eu sefyllfa dywyllaf, er nad oes ganddynt lawenydd a dyddanwch mwynhaol bob amser; y mae y Dyddanydd yn preswylio yn wastadol gyda'r saint, er nad yw yn eu dyddanu yn wastadol. Ioan xiv. 16. Mae yr Ysbryd yn aml yn dwyn yn mlaen ei waith santeiddiol, pan nad yw yn dwyn yn mlaen ei waith dyddanol, yn yr enaid. Mae yr Ysbryd

yn aml yn gweithredu mewn ffordd o ddarostyngiad, pan nad yw yn gweithredu mewn ffordd o ddyddanwch. Mae yr Ysbryd yn aml yn llanw yr enaid â thristwch duwiol, pan nad yw yn ei lanw â llawenydd duwiol. Gweithrediadau yr Ysbryd, gyda golwg ar ei waith dyddanol, ydynt oll o'i ewyllys a'i hyfrydwch penarglwyddiaethol, ac am hyny gall breswylio yn yr enaid pan nad yw yn dyddanu yr enaid yn weithredol. Ond,

(7.) Mae pobl Dduw, yn hwyr neu hwyrach, yn cael eu selio gan Ysbryd Duw: Eph. i. 13, "Yn yr hwn hefyd wedi i chwi gredu, y'ch seliwyd trwy Lân Ysbryd yr addewid." Mae natur seliad yn gynwysedig yn nghyfranogiad y ddelw, neu nodweddiad y sêl, ar y peth a selir. Selio peth yw argraffu nodweddiad y sêl arno. Yn awr, y mae Ysbryd Duw yn cyfranu yn wirioneddol ac yn effeithiol, ddelw Duw i ni, yr hon ddelw sydd yn gynwysedig mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd. Dyna'r pryd y'n selir yn wirioneddol gan Ysbryd Duw, pan y mae yr Ysbryd Glân yn argraffu delw gras a santeiddrwydd mor amlwg ac mor eglur ar yr enaid, fel ag y mae yr enaid yn ei ganfod ac yn ei deimlo, ac y dichon redeg a'i ddarllen; y pryd hyny y selir yr enaid gan yr Ysbryd Glân. Felly Eph iv. 30, "Ac na thristewch Lân Ysbryd Duw, trwy yr hwn y'ch seliwyd hyd ddydd prynedigaeth." Person yr Ysbryd Glân, yn y Roeg, sydd yn cael ei osod allan gyda grym mawr iawn, y fath ag na all ein hiaith ni mo'i gyflawn ddarlunio.

Yma y mae tri gair a thri bannod iddynt, pob gair â'i fannod neillduol wrtho ei hun. *Yr* Ysbryd, nid Ysbryd; ac nid Glân, eithr *y* Glân; nid Duw, eithr *y* Duw hwnw. 2 Cor. i. 22, "Yr hwn hefyd a'n seliodd, ac a roes ernes yr Ysbryd yn ein calonau." Yn yr ysgrythyrau hyn y gwelwch fod yr Ysbryd yn sêl. Sêl, yn mhlith dynion, sydd yn

1af. Er celedigaeth.
2il. Er gwahaniaeth.
3ydd. Er awdurdod.

4ydd. Er sicrwydd. Mae ysgrifen seliedig yn awdurdodedig, ac er diogelwch.

Yn y tri thestyn a goffawyd ddiweddaf, os cymharwch hwynt, gellwch nodi y chwech peth hyn,—

1af. Y person sydd yn selio, a hwnw yw y "Tad."

2il. Yn mhwy?—Yn "Nghrist."

3ydd. A pha sêl?—"Ysbryd yr addewid;" lle y mae holl bersonau y Drindod yn sicrhau i ni ein hetifeddiaeth.

4ydd. Pa bryd?—"Wedi i chwi gredu."

5ed. Y dyben, yr hwn sydd ddeuplyg,—

*Yn gyntaf*, yn is-raddol,—hyny yw, "Sicrwydd ein hiachawdwriaeth."

*Yn ail*, yn uwch-raddol,—"Mawl ei ogoniant ef."

6fed. Yr amser pa hyd y bydd y sêl a'r ernes hon yn sicrhau fel hyn i ni; hyny yw, hyd nes y meddiannom yn gyflawn yr hyn y mae yn ernes o hono.

I attal camsyniadau a gwrthddadleuon yn nghylch seliadau yr Ysbryd, ar y naill law, ac i gynal, dyddanu, a chalonogi pobl dylodion Dduw, ar y llaw arall, gadewch i mi yn fyr nodi yr amserau y mae yr Ysbryd yn selio yn neillduol; megys,

*Yn gyntaf.* Mae amserau dychweliad yn aml yn amserau seliad yr Ysbryd. Luc xv. 22, 23. Ar ddychweliad yr afradlon, y mae y llo pasgedig yn cael ei ladd, a'r wisg oreu yn cael ei gosod am ei gefn, a'r fodrwy yn cael ei rhoi ar ei law, ac esgidiau am ei draed. Dealla rhai, wrth y wisg, breninoliaeth Adda; ereill, cyfiawnder Crist; ac wrth y fodrwy y dealla rai, gwystlon cariad Duw, gan fod modrwyau yn cael eu rhoddi fel gwystlon cariad; ac wrth y fodrwy y dealla ereill, sêl santaidd Ysbryd Duw: y mae dynion yn arfer selio â'u modrwyau. Yn mhlith y Rhufeiniaid, yr oedd y fodrwy yn arwydd o rinwedd, anrhydedd, ac uchel-fonedd, trwy yr hyn yr oedd y rhai ag oeddynt yn ei gwisgo yn cael eu gwahaniaethu oddi wrth y bobl gyffredin. Yr wyf fi yn meddwl mai y peth penaf a feddylir wrth y wisg a'r fodrwy, yw dangos i ni fod Duw weithiau mor hynod

foddlonol wrth droedigaeth a dychweliad y pechadur ato, fel ag i roddi iddo ryw amlygiadau neillduol o'i raslawn hyfrydwch a'i ewyllys da, ac i selio i fyny iddo ei ffafr o'i dragwyddol gariad. A hyn yw yr achos fod y rhai nad ydynt ond babanod yn Nghrist, mor ddiwyd a gweithgar mewn dyledswyddau crefyddol, ac mor gydwybodol a diwyd yn yr ymarferiad o'u grasusau. Ar y dychweliad cyntaf, y mae Duw weithiau yn galluogi rhai o'i bobl i ddarllen eu henwau eu hunain yn ysgrifenedig mewn llythyrenau amlwg yn llyfr y bywyd. Cyn gynted ag y mae rhai yn dychwelyd, y mae yr Ysbryd yn argraffu ei sêl arnynt.

*Yn ail.* Amserau credu ydynt yn amserau seliad. Eph. i. 13. Pan yr oeddynt yn yr ymarferiad o'u ffydd, pan yr oeddynt yn gweithredu eu ffydd, (oblegid cymaint yw ystyr y gair gwreiddiol,) y daeth yr Ysbryd ac a'u seliodd hyd ddydd prynedigaeth. Yr hwn sydd yn anrhydeddu Crist trwy aml weithredu ffydd arno, hwnw a anrhydedda Crist trwy osod ei sêl a'i nôd arno.

*Yn drydydd.* Amserau darostyngol ac amserau galar ydynt amserau seliad. Pan ofynwyd i ŵr santaidd, pa rai oeddynt y dyddiau mwyaf llawen, a'r dyddiau mwyaf dyddanol a ddarfu iddo erioed eu mwynhau? efe a atebodd mai ei ddyddiau galar. Ei ddyddiau galar oeddynt ei ddyddiau mwyaf llawen, ac am hyny efe a lefodd allan, "O! dyro i mi fy nyddiau galar, dyro i mi fy nyddiau galar, oblegid hwynt-hwy oeddynt fy nyddiau mwyaf gorfoleddus." Y rhai hyny oeddynt y dyddiau yn mha rai y seliodd Duw ei gariad tragwyddol i'w enaid. Job xxii. 29; Esay xxix. 19. Pan ymostyngodd yr afradlon yn fawr o flaen ei dad, dyna yr amser y cafodd y wisg oreu a'r fodrwy eu rhoddi iddo. Luc xv. 17—24. Nid oes neb yn hiraethu cymaint am seliadau yr Ysbryd ag eneidiau gostyngedig, ac nid oes neb yn gosod cymaint gwerth arnynt; ac nid oes neb yn gwneyd cynydd mor rhagorol o seliadau yr Ysbryd, ag eneidiau gostyngedig. Ac am hyny, pan y mae calonau dynion yn ostyngedig

ac yn isel, y mae yr Ysbryd yn dyfod ac yn gosod sêl ddirgel y nefoedd arnynt.

*Yn bedwerydd.* Amserau pechod-laddiad, pechod-farweiddiad, a phechod-ddarostyngiad, ydynt amserau seliad yr Ysbryd: Dat. ii. 17, "I'r hwn sydd yn gorchfygu, y rhoddaf iddo fwyta o'r manna cuddiedig, ac a roddaf iddo gareg wen, ac ar y gareg enw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nid edwyn neb ond yr hwn sydd yn *ei* dderbyn."

Rhydd Duw i'r Cristion buddugoliaethus arwydd o'i ddirgel gariad, trwy yr hyn y gall yr enaid orphwys yn ddiogel am annhraethadwy gariad Duw yn ei ryddhad oddi wrth ddamnedigaeth. Cerig gwynion oeddynt o ddefnydd mawr yn mhlith y Rhufeiniaid, ac yn mhlith yr Atheniaid, ac yn wasanaethgar i ryddhau y cyhuddedig mewn llysoedd barn. Pan fyddai drwgweithredwyr yn cael eu cyhuddo, eu collfarnu, a'u condemnio yn eu llysoedd, rhoddent iddynt gareg ddu yn arwydd o gollfarniad; eithr pan y caent eu rhyddhau, rhoddent iddynt gerig gwynion yn arwydd o ryddhad. Ac at y ddefod hon, y mae yn debygol, y mae yr Ysbryd Glân yn cyfeirio. Yr hwn sydd yn fuddugoliaethus ar ei chwantau, a gaiff enw newydd, "ag sydd well nag enwau meibion ac na merched." Caiff faddeuant o'i bechodau yn ysgrifenedig mewn llythyrenau têg ar y gareg wen, fel y gall redeg a darllen ei ryddhad. Fe gaiff y Cristion buddugoliaethus sicrwydd o ryddhad cyflawn o'i bechodau; fe gaiff amlygiad eglurach o'i gyfiawnhad, a gwynfydedig sicrwydd o'i dragwyddol etholiad; yr hyn bethau oll sydd guddiedig a dirgelaidd i bawb ond y rhai hyny a brofasant ac a archwaethasant beth a feddylir wrth y bwydydd peraidd hyn o eiddo y nefoedd.

Yn mhlith y Rhufeiniaid, yr oedd gwyliau arbenig yn cael eu cadw er anrhydedd i'r rhai hyny ag oeddynt yn gorchfygu yn eu campau cysegredig. Yn awr, y rhai hyny ag y caniateid iddynt ddyfodfa i'r gwleddoedd hyny, yr oedd yn rhaid iddynt gael eu henwau yn ysgrifenedig

ar gregyn gwynion, a cherig gwynion, a thrwy y tocynau hyn y caniateid iddynt ddyfodfa. Meddylia rhai fod yr Ysbryd Glân yn cyfeirio at yr arferiad hon, ac felly i nodi i ni y nôd dirgel trwy ba un y gellir adnabod Cristionogion buddugoliaethus, ac a ganiateid megys gwahoddedigion at y manna cuddiedig, yn ol Dat. xix. 9. O Syrs! pan ddarostynger y chwantau penaf, pan byddo y pechodau mynwesol yn gorwedd yn lladdedig yn yr enaid, yna y mae yr Ysbryd yn dyfod ac yn selio i fyny gariad, bywyd, a gogoniant i'r enaid.

*Yn bummed.* Amserau dyoddef sydd amserau seliad. Act. vii. 55, 56, 59, 60; Dat. i. 9, 10; 2 Cor. iv. 15—17. Y prif Gristionogion a'u profasant felly, a'r saint dyoddefus yn nyddiau Mary a'u profasant felly. Pan y mae y ffwrn yn saith boethach nag arferol, daw Ysbryd yr Arglwydd ac a selia faddeuant y dyn yn ei fynwes, ei heddwch â Duw, a'i hawl i'r nefoedd. Pan y mae y byd yn gwgu fwyaf, y pryd hyny y mae Duw yn gwenu fwyaf; pan y mae y byd yn gosod ei gadwyni haiarn am fferau ei saint, yna y mae Duw yn gosod ei gadwyni auraidd am eu gyddfau; pan y mae y byd yn gosod cwpan chwerw yn y naill law, yna y mae yr Arglwydd yn gosod cwpan dyddanwch yn y llaw arall; pan y mae y byd yn llefain, "Croeshoelier hwynt, croeshoelier hwynt," yna, yn gyffredin, y clywant lef o'r nefoedd, "Y rhai hyn yw fy rhai anwyl, yn y rhai y'm boddlonwyd."

Yr oedd y gwynfydedig Bradford yn edrych ar ddyoddefiadau fel yn eglurder iddo ei fod ar yr uniawn ffordd i'r nefoedd. Ac, medd Ignatius, "Gwell yw i mi fod yn ferthyr na bod yn arch-deyrn."

*Yn chwechfed.* Amserau hunan-ymwadiad ydynt amserau seliad yr Ysbryd. Mat. xix. 27—29.

1af. Mae hunan bechadurus, yr hon sydd yn cymeryd i mewn chwantau y dyn.

2il. Mae hunan naturiol, yr hon sydd yn meddiannu cywreinrwydd, rhanau, a doniau y dyn, &c.

3ydd. Mae hunan grefyddol, yr hon sydd yn dwyn i

mewn ddyledswyddau a chyflawniadau crefyddol y dyn, pa un ai cyffredin ai annghyffredin.

4ydd. Mae hunan foesol, yr hon sydd yn cynwys rhyddid oddi wrth ddrygioni gwrthun, anfad, ac ysgeler; ac ymddygiad têg, hyfryd, a diniwaid tuag at ddynion.

5ed. Mae hunan berthynasol, yr hon sydd yn cymeryd i mewn ein perthynasau agosaf ac anwylaf yn ol y cnawd, megys gwraig, plant, tad, mam, brawd, chwaer, &c. Yn awr, pan y daw y dyn i ymwadu âg ef ei hun fel hyn yn gyffredinol er mwyn Crist, ac er mwyn yr efengyl, ac er mwyn crefydd, yna y daw Ysbryd yr Arglwydd ac a'i selia ef hyd ddydd prynedigaeth. Mae hwn yn wirionedd a gadarnhawyd trwy brofiad llawer o'r merthyron ag ydynt yn awr yn y nefoedd, a thrwy dystiolaeth llawer o Gristionogion ag ydynt eto yn fyw.

*Yn seithfed.* Amserau y cymun ydynt amserau seliad. Yn y wledd hòno o basgedigion breision, y mae Duw, trwy ei Ysbryd, yn selio ei gariad i'w bobl, a'i gyfammod i'w bobl, a maddeuant pechod i'w bobl, a nefoedd a dedwyddwch i'w bobl. Mae lluaws o eneidiau gwerthfawr wedi mwynhau Crist yn yr ordinhad hon, pan yr oeddynt yn methu ei gael mewn ordinhadau ereill, er iddynt yn ofidus ei geisio ef. Yn yr ordinhad hon y cafodd llawer enaid helbulus ei gryfhau, ei ddyddanu, a'i selio.

Gallwn roddi i chwi lawer o siamplau, cymerwch un am y cwbl.—Yr oedd gwraig raslawn, yr hon, wedi i Dduw lanw ei henaid â chysur, a selio iddi ei dragwyddol gariad, a syrthiodd dan yr ofnau a'r gofid ysbryd gynt; pan oedd hi wrth fwrdd yr Arglwydd, ychydig cyn i'r bara gael ei weinyddu iddi, temtiodd Satan hi, ac a ddywedodd wrthi na ddylai anturio i fwyta; eithr yn y fan, gwelodd yr Arglwydd yn dda ddwyn i'w meddwl y rhan hòno yn y Caniadau, "Bwytewch, fy nghyfeillion." Ond heblaw hyn, parhaodd Satan eilwaith i'w brawychu hi; ac wedi iddi hi fwyta, efe a ddywedodd wrthi na ddylai yfed; ac yna daeth yr Arglwydd a'r ail ran o'r

adnod i'w chof, "Yfwch, ïe, yfwch yn helaeth." Neu ymfeddwch, yn ol yr Hebraeg, fy rhai anwyl. (Yr holl rai ffyddlon ydynt rai anwyl Crist.) Ac felly hi a yfodd hefyd, ac yn y fan y llanwyd hi â'r fath lawenydd annhraethadwy fel mai prin y gwyddai pa fodd yr aethai adref; yr hwn enaid felus-bêr lawenydd a barhaodd am bymthegnos wedi hyny, ac a lanwodd ei henaid â chaniadau o fawl, fel na allai na chysgu na bwyta, ond fel yr oedd yn cymhell ei hun i wneyd, a hyny o gydwybod. Yn mhen y pymthegnos, pan y gwelodd yr Arglwydd yn dda leihau mesur ei llawenydd, daeth i sefydledig heddwch cydwybod, a sicrwydd o gariad Duw, fel am ugain mlynedd wedi hyny ni chafodd gymaint ag un cwmwl ar ei hysbryd, na'r amheuaeth leiaf o'i hawl yn Nghrist.

*Yn wythfed.* Pan y mae Duw yn galw ei bobl at ryw waith mawr a rhagorol, pan y mae efe yn gosod arnynt ryw wasanaeth uchel, rhyw ddyledswyddau anhawdd, rhyw orchwylion santaidd a godidog, yna y mae ei Ysbryd yn dyfod ac yn gosod ei sêl arnynt: Jer. i. 5, "Cyn i mi dy lunio di yn y groth, mi a'th adnabum; a chyn dy ddyfod o'r groth, y santeiddiais di; a mi a'th roddais yn brophwyd i'r cenhedloedd." Pan y mae yr Arglwydd yn anfon y prophwyd Jeremiah i gyhoeddi y barnedigaethau mwyaf dychrynllyd yn erbyn pobl wrthryfelgar, cenedl ddigywilydd a thalgryf, y mae yn sicrhau iddo ei dragwyddol etholiad, a'i bresenoldeb rhagorol, a'i gynorthwy neillduol yn y gwaith hwnw ag yr oedd efe yn ei anfon o'i herwydd. Adn. 8, 17—19. Fel hyn y gwnaeth yr Arglwydd â Phedr, Iago, ac Ioan, Mat. xvii. 1—6; ac fel hyn y gwnaeth â Phaul, Act. ix—xxiii.

*Yn nawfed.* Pan y maent yn cael eu dwyn i fwy o gymundeb na chyffredin gyda Duw, yna y mae amser seliad yr Ysbryd. Pa bryd y llefodd y ddyweddi allan, "Fy anwylyd sydd eiddof fi, a minau yn eiddo yntau?"

ond pan y dygodd Crist hi i'w win-dŷ, a'i faner drosti ydoedd gariad, Can. ii. 16, a iii. 4—6.

*Yn ddegfed*, ac yn ddiweddaf. Pan y mae Cristion-ogion yn ymarferyd yn fwy na chyffredin mewn gweddi ddirgel, mewn dyledswyddau ystafellol, yna y mae yr Ysbryd yn dyfod ac yn selio y cyfammod, a chariad y Tad iddynt. Pan y bu Daniel yn ymdrechu ac yn wylo, yn wylo ac yn ymdrechu ar hyd y dydd gyda Duw yn ei ystafell, yna y dywedodd yr angel wrtho "ei fod yn ŵr anwyl gan Dduw," neu, ŵr y dymuniadau, yn ol y iaith wreiddiol. Gwraig raslawn, yr hon, wedi llawer o ym-wneyd â phregethu a rhodio yn ffyrdd yr Arglwydd, a syrthiodd i amddifadrwydd mawr o gysur; ond pan oedd mewn gweddi ddirgel, daeth Duw i mewn â chyflawnder o oleuni a chysur, gan selio i'w henaid y rhan hyny o'i gyfammod, sef, Ezec. xi. 19, 20, "Tynaf hefyd y galon gareg ymaith o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig: Fel y rhodiont yn fy neddfau, ac y cadwont fy marnedigaethau, ac y gwnelont hwynt: a hwy a fyddant yn bobl i mi, a minau a fyddaf Dduw iddynt hwy." Ac yn y modd uchod y rhoddais i chwi hanes byr o amserau neillduol seliad yr Ysbryd.

Yn awr nodwch: y mae Duw yn gosod y sêl hon ar ei holl nwyfau, ar ei holl blant mabwysiedig; nid oes yr un o'i eiddo ef, nad yw, ryw bryd neu gilydd, yn cael ei selio â'r sêl hon. Y mae Duw yn gosod ei sêl o ail-enedig-aeth, y mae yn argraffu ei ddelw o santeiddrwydd ar ei holl bobl, i'w gwahaniaethu oddi wrth holl ddynion halog-edig, moesol, a rhagrithiol y byd. Diamau mai gwaith santeiddiol yr Ysbryd Glân yn argraffu cynlluniau, a llinelliadu delw cyfiawnder a santeiddrwydd ar ddyn (fel y mae sêl neu sêl-fodrwy yn gadael llun ac argraff ei gyffelybrwydd ar y peth a selir) yw sêl yr Ysbryd y llefarir am dano yn yr ysgrythyrau: 2 Tim. ii. 19, "Eithr y mae cadarn sail Duw yn sefyll, a chanddo y sêl hon; Yr Arglwydd a edwyn y rhai sydd eiddo ef: A, Phob un sydd yn enwi enw Crist, ymadawed oddi

wrth annghyfiawnder." Ond er attal camsyniadau, cofiwch, er fod Ysbryd yr Arglwydd, ryw bryd neu gilydd, yn gosod ei sêl ar bob gwir sant, eto nid yw yn argraffu y ddelw hòno yr un mor amlwg yn mhawb; oblegid y mae rhai yn dwyn yr argraff hon fel mabanod, ereill fel dynion wedi tyfu i ychydig o addfedrwydd. Y mae holl blant mabwysiedig Duw yn dwyn yr argraff hon yn wirioneddol, eithr nid oes yr un o honynt yn ei dwyn hi yn berffaith yn y bywyd hwn. Y mae y sêl hon o adgenedliad, y sêl hon o santeiddrwydd, mor amlwg ac eglur weithiau fel y gall dyn redeg a'i darllen hi ynddo ei hun ac ereill; a phrydiau ereill y mae mor anamlwg a thywyll, fel mai prin y gall ei chanfod hi ynddo ei hun nac ereill. Y mae y sêl hon wedi ei hargraffu mor ddysglaer ar rai o bobl Dduw, fel y mae yn amlygu ei hun yn eithaf eglur, hynod, a gogoneddus; ond ar ereill nid yw yr un mor amlwg. Ac fel hyn, trwy y saith nodiad hyn, y gwnaethum yn amlwg fod gan holl blant Duw Ysbryd Duw.

Yn awr nodwch. Y mae Ysbryd Duw, yr hwn sydd yn yr holl saint, yn ysbryd gweddi a deisyfiad: Rhuf. viii. 15, "Chwi a dderbyniasoch Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad." Nis gall y plentyn lefain pan y mae yn y bru, ond, man y ganer ef, y mae yn llefain. Tra yr oedd Paul yn gorwedd yn ei gyflwr natur, nis gallai weddïo; eithr fel y ganed ef o'r Ysbryd, y newydd nesaf a gawn, "Wele y mae efe yn gweddïo," Act. ix. 11. Nid yw gweddi yn ddim arall ond troi y tufewn i ddyn allan gerbron yr Arglwydd. Gwir enaid gweddi sydd yn sefyll mewn tywallt allan yr enaid i fynwes Duw. Nid yw gweddi ddim ond anadlu *hyny allan* gerbron yr Arglwydd ag a anadlwyd o'r blaen *i ni* gan Ysbryd yr Arglwydd. Nid yw gweddi ddim ond cyfeillach agos, beraidd, rydd, a gwerthfawr yr enaid â Duw. Gwaith mawr o eiddo yr Ysbryd, yn ddiau, yw cynorthwyo y saint i weddïo: Galat. iv. 6, "Ac o herwydd

eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain, Abba, Dad." Nid oes gan Dduw un plentyn mud-ganedigol. Y mae y gefeilliaid Abba, Dad, yn arwyddo serch angerddol, mabaidd, ac ymddiriedgar." Y cyntaf sydd air Hebreig, neu Syriaeg, yr ail sydd Roeg, wrth y rhai yr arwyddir undeb yr Hebreaid a'r Groegiaid, neu yr Iuddewon a'r Cenedloedd, yn un eglwys, Abba, Dad. Beth yw Abba? medd ereill. Yn Hebraeg, Tad; ac fe chwanegir, oblegid yn Nghrist, y gonglfaen, yr unir y ddau, yn un-gyffelyb feibion, o ba le bynag y delont; enwaediad o un lle, ac fe ddywedir Abba; dienwaediad o le arall, ac fe ddywedir Tad; gan mai undeb y muriau yw gogoniant y gonglfaen.

Y mae y gair Abba, medd ereill, yn arwyddo Tad yn yr iaith Syriaeg, yr hwn a arfera yr apostol yma, oblegid ei fod yn air llawn o serch, yr hwn a arferir gan blant, wrth ddechreu siarad, agos yn mhob iaith. Ac efe a chwanega y gair Tad, nid yn unig er esponio yr un peth, ond er gosod allan yn well y cynhyrfiadau taer, y dymuniadau gwresog a dwys, a serch neillduol credinwyr yn eu gwaith yn galw ar Dduw; megys y gwnaeth Crist ei hun ail-adrodd y gair Tad i'r un dyben, pan yr oedd yn ei ofid mwyaf. Y mae y gair bychan hwn, Tad, (medd Luther,) wrth gael ei floesgnio (*lisped*) allan mewn gweddi gan blentyn Duw, yn rhagori ar hyawdledd *Demosthenes*, *Cicero*, a phob awdwr arall o gyffelyb enwogrwydd yn y byd. Y mae Ysbryd Duw, yn ddiau, yn cynorthwyo y saint yn eu cymundeb â Duw; sef, yn eu myfyrdodau am Dduw, yn eu cyfeillach y naill â'r llall, ac yn eu holl gyfarchiadau dwys at Dduw. Ac mewn perthynas i hyn, rhydd yr apostol i ni siampl ragorol yn Rhuf. viii. 26, "A'r un ffunud y mae yr Ysbryd hefyd yn cynorthwyo ein gwendid ni. Canys ni wyddom ni beth a weddïom, megys y dylem: eithr y mae yr Ysbryd ei hun yn erfyn trosom ni âg ocheneidiau annhraethadwy." Y mae ynom ni, ar amserau, pan yr ydym yn myned i weddïo, lesgedd o anwybodaeth, fel na wyddom

beth i weddïo am dano, gyda golwg ar fater na dull. Ac y mae ynom ni, brydiau ereill, lesgedd o falchder a hunan-dyb, fel nas gallwn weddio gyda'r ysbryd gostyngedig ac isel hwnw ag y dylem, y mae balchder ysbrydol wedi attal ein gweddïau. Weithiau y mae ynom ni lesgedd o farweidd-dra, cysgadrwydd, a syrthni, fel na allwn weddïo gyda'r twymder, gwresogrwydd, bywiogrwydd, ysbryd, a'r taerineb, ag a wnaem, neu a ddylem ei wneyd. A phrydiau ereill y mae ynom ni lesgedd o annghrediniaeth ac ofn caethiwus, fel na allwn weddïo gyda'r ffydd a'r hyder santaidd hyny ag sydd yn gweddu i blant sydd yn agosau at orsedd gras. Eithr yn awr y mae yr Ysbryd yn cynorthwyo y gwendidau hyn mewn ffordd o addysg, gan ein cynorthwyo, a'n dysgu ni beth a weddïom, a pha fodd y dylem sillafu ein gwers; a thrwy ddywedyd wrthym, fel pe bae, beth a ddywedom, a pha fodd y dylem ocheneidio a griddfan; a thrwy ein deffroi, ein hadfywio, a'n hannog ni at weddi; a thrwy ei ddylanwad neillduol a'i gynorthwy rhagorol, yn agor ac yn eangu ein calonau mewn gweddi; a thrwy ei fod yn cynghaneddu tannau ein serchiadau, y mae efe yn parotoi ac yn ein haddasu ni at waith deisyfiadol: ac am hyny, y mae pob un ag sydd yn dirmygu ysbryd gweddi yn y saint, (gan ddywedyd, y rhai hyn ydynt wŷr a gwragedd sydd yn gweddïo trwy yr Ysbryd,) yn cablu yn erbyn yr Ysbryd; prif waith yr Ysbryd ydyw addysgu y saint i weddïo, a'u cynorthwyo mewn gweddi. Yn awr, gan fod gan yr holl saint yr Ysbryd, a bod yr Ysbryd yn Ysbryd gweddi, nid oes un rheswm yn y byd paham y dylai sant ddywedyd, Mi a weddïwn yn ddirgel, ond ni allaf weddïo, ni allaf dywallt allan fy enaid na'm cwyn gerbron yr Arglwydd yn y dirgel.

6. Tydi a ddywedi na elli di weddïo, nad oes genyt y doniau a'r galluoedd sydd gan ereill: ond tydi a elli drin dy alwedigaethau, dy orchwylion bydol, cystal ag ereill; a pha fodd, ynte, na elli weddïo fel ereill? Ah! gyfeillion,

pe baech ond caru gweddi ddirgel cystal ag yr ydych yn caru y byd, ac ymhyfrydu mewn gweddi ddirgel gymaint ag ydych yn ymhyfrydu yn y byd, a phe bae eich calonau wedi cael eu llyncu gymaint gan weddi ddirgel ag ydynt wedi cael eu llyncu gan y byd, ni ddywedech byth na allech weddïo; ïe, buan y gweddïech gystal ag ereill; nid cymaint oblegid diffyg gallu i weddïo yn y dirgel, nad ydych yn gweddïo yn y dirgel, ag ydyw oddiar ddiffyg ewyllys a chalon i weddïo yn y dirgel, nad ydych yn gweddïo yn y dirgel. Cariad Jacob at Rahel, a chariad Shechem at Dina, a'u dygodd i'r cyfyngderau mwyaf. Pe bae serchiadau dynion ond wedi eu gosod yn gryf ar weddi ddirgel, buan y caent alluoedd i weddïo. Pan y mae un wedi rhoi ei serch ar ferch (er na fydd yn ddysgedig nac ymadroddus), efe a gaiff afael ar ddigon o eiriau i roddi gwybod iddi pa fodd y mae hi wedi myned â'i galon: y mae y cymhwysiad yn hawdd. Efe, yn Seneca, a achwynodd fod draen yn ei droed, pan mai ei ysgyfaint oedd yn bwdr. Felly y mae llawer yn achwyn ar ddiffyg dawn i weddio yn eu hystafell, pan mewn gwirionedd mai eu calonau ydynt yn bwdr. Gyfeillion, gwnewch ymofyn am well calonau, ac yna ni ddywedwch byth nas gellwch weddïo. Golygfa echryslawn ydyw gweled dynion wedi eu donio yn fawr at orchwylion bydol, yn gwaeddi allan nas gallant weddïo, nad oes ganddynt ddawn i dywallt allan eu heneidiau gerbron yr Arglwydd yn y dirgel: y mae genych ddigon o ddoniau i ddywedyd wrth ddynion am eich heisiau, eich peryglon, eich cyfyngderau, eich trugareddau, eich gwaredigaethau, eich dyledswyddau, eich croesau, eich colledion, eich mwynhad, eich cyfeillion, a'ch gelynion, a phaham na bae cywilydd arnoch i achwyn ar ddiffyg medr a dawn i adrodd y pethau hyn wrth Dduw, pa rai y gellwch ddywedyd wrth ddynion hyd yn nod oddiar nen tŷ.

## Gwrthddadl IV.

Gall ereill wrthddadlu yn mhellach a dywedyd, Y mae Duw

yn eithaf hysbys o'm holl eisiau, angenrheidiau, cyfyngderau, &c., ac nid oes dim cynhyrfu arno ef i gyfranu i ni yr un fendith a'r nad yw efe wedi bwriadu ei chyfranu, pa un a wnawn ni ai gweddïo yn ein hystafelloedd ai peidio; ac am hyny, paham yr ydych yn gwasgu gweddi ddirgel mor galed arnom?

I'r wrthddadl hon yr wyf yn ateb,

1. Fod yr wrthddadl hon yn taro yr un mor nerthol yn erbyn gweddi deuluaidd, a gweddi gyhoeddus, ag ydyw yn erbyn gweddi ddirgel. Y mae Duw yn gwybod am dy holl eisiau a'th angenrheidiau, dy holl gyfyngderau a'th dreialon, ac am hyny pa raid sydd i ti weddïo yn dy deulu, a pha raid sydd i ti ymwneyd â gweddïau cyhoeddus yn nghymdeithas y saint? Nid oes un drugaredd i gael ei derbyn o'r nefoedd, na ddarfu efe fwriadu ei chyfranu. Gall yr wrthddadl hon gael ei dwyn yn erbyn pob math o weddi. Ond,

2. Yr wyf yn ateb, fod gweddi ddirgel yn rhan o'r addoliad a'r parch dwyfol hyny ag sydd yn ddyledus arnom i Dduw ar awdurdod dwyfol orchymyn (fel y profais eisioes). Gan hyny, y mae yn rhaid i bob gwrthddadleuon syrthio o flaen awdurdod dwyfol orchymyn, fel y syrthiodd brodyr Joseph o'i flaen ef, neu fel yr ymostyngodd gweision Ahasferus o flaen Haman. Dylai pob gwrthddadl a ffurfir yn erbyn dwyfol orchymyn syrthio o'i flaen megys y syrthiodd Dagon ger bron yr arch, neu fel y cwympodd Goliah o flaen Dafydd. Pwy bynag sydd yn taflu ymaith weddi ddirgel trwy unrhyw esgus, sydd yn taflu ymaith arglwyddiaeth ac awdurdod Duw, a gall hyn fod mor werthfawr a bywyd neu enaid dyn. Ond,

3. Yr wyf yn ateb, er nad y sylfaen a'r achos i ennill grasau a thrugareddau oddi wrth Dduw yw gweddi, eto, y moddion, y ffrwd arianaidd, y bibell auraidd ydyw, trwy ba un y mae yr Arglwydd yn gweled yn dda drosglwyddo i'w bobl bob bendith dymorol, ysbrydol, a thragwyddol. Ezec. xxxvi. 26—37. Y mae Duw wedi addaw

rhoddi iddynt yr hufen, y fendith ragoraf a phereiddiaf o bob bendith ysbrydol, tymorol, a thragwyddol; eithr nodwch, adn. 37, "Ymofynir â myfi eto gan dŷ Israel, i wneuthur hyn iddynt." Er fod Duw yn eithaf rhwydd a pharod i gyfranu i'w bobl y goraf a'r penaf o'i fendithion, eto, myn efe i ni i'w ceisio mewn gweddi cyn y mwynhaom hwynt yn weithredol. Y dyn hwnw ag sydd heb un galon i weddïo am y drugaredd sydd yn eisiau arno, nid oes ganddo un sylfaen i gredu y gwna Duw byth gyfranu y drugaredd hòno iddo. Nid oes derbyn heb ofyn, na chael heb geisio, nac agor heb guro. Dylai yr addewid dairplyg a gysylltir â'r gorchymyn triphlyg, yn Mat. vii. 7, galonogi pob Cristion i fod yn daer, gwresog, a pharhaus mewn gweddi. Ni chaiff y cardotyn balch ddim gan ddynion; felly ni chaiff y pechadur mud ddim gan Dduw. Megys nad oes un drugaredd yn ormod i Dduw ei rhoddi, felly nid oes un drugaredd yn rhy fach i ninau ymofyn am dani. Nid oes fawr werth, yn ddiau, yn y dyn hwnw ag sydd yn barnu nad oes un drugaredd yn werth ei cheisio. Ond,

4. Ac yn olaf. Yr wyf yn ateb, y dylai pob Cristion lafurio am fwynhau ei drugareddau mewn trugaredd; dylai lafurio am gael ei fendithion wedi eu bendithio iddo; dylai ymdrechu am gael ewyllys da Preswylydd y berth gyda'r hyn oll y mae yn ei gael. Y mae hwnw yn wirionedd i fyw ac i farw gydag ef, sef, pa drugaredd bynag nad yw yn dyfod ar adenydd gweddi, na roddwyd mo honi mewn trugaredd. Pa mor felus yw y drugaredd hòno sydd yn ehedeg ar adenydd gweddi; mor felus gan Samson oedd y dwfr hwnw a ffrydiodd iddo yn ffrwd gweddi ddirgel. Barn. xv. 19. Efe a alwodd ei enw En-haccore, ffynnon y gweddïwr. Gweddïodd Samson fel am fywyd, ac yr oedd yr hyn a drosglwyddwyd iddo mor felus a bywyd. Y mae pob trugaredd a gesglir trwy law gweddi ddirgel, mor beraidd a rhosyn Saron; eithr y drugaredd hòno nad yw yn dyfod i mewn trwy ddrws gweddi ddirgel, nid yw yn dyfod i mewn trwy yr

iawn ddrws; a'r drugaredd hòno na ddel i mewn trwy yr iawn ddrws, ni fydd o ddim llesad i neb; y cyfryw drugareddau a wnant iddynt eu hunain adenydd, ac a ehedant ymaith oddi wrthym. Dylai pob Cristion edrych yn fanwl ar fod ei holl drugareddau yn drugareddau wedi eu santeiddio. Yn awr, y mae pob trugaredd yn cael ei santeiddio trwy air a gweddi; gweddi sydd yn ein parotoi a'n haddasu ni i drugaredd, a thrugaredd i ninau. Gweddi a rydd ddefnyddiad uniawn a santaidd i ni o'n holl drugareddau. Nid yw y cyfryw drugareddau ond melldithion mawr, na ddel i mewn ar aden gweddi. Trugareddau y rhai diweddi ydynt oll yn cael eu rhoddi mewn digllonedd. Salm lxxviii. 23—32. Ie, y mae eu bendithion yn felldithion iddynt. Diar. iii. 33; Mal. ii. 2. Megys y mae pob aberth i gael ei halltu â halen, felly y mae pob trugaredd i gael ei santeiddio trwy weddi. Megys y gosodir aur weithiau, nid yn unig ar frethyn a sidan, eithr hefyd ar arian ei hun, felly gweddi yw y ddyledswydd auraidd hòno, sydd raid ei gosod, nid yn unig ar ein holl weithredoedd naturiol a gwladol, megys bwyta, yfed, gwerthu, prynu, &c., eithr hefyd ar ein holl ddyledswyddau arianaidd, ar ein holl gyflawniadau mwyaf crefyddol ac ysbrydol, megys gwrando, darllen, myfyrio, ymddyddanion, cymdeithas eglwysig, toriad bara, &c.

Y mae gweddi, yn ddiau, yn angenrheidiol tuag at wneyd pob rhagluniaeth, pob ordinhad, pob trugaredd i fod o fendith i ni. Pob trugaredd a ddel i mewn ar aden gweddi ddirgel, sydd drugaredd ddwbl: trugaredd sydd â lliaws o drugareddau yn gynwysedig ynddi. Gwyn fyd y dyn hwnw a ddichon osod ei law ar bob trugaredd y mae yn ei mwynhau, a dywedyd am danynt oll megys y dywedodd Hannah am ei Samuel: 1 Sam. i. 27, "Am y bachgen hwn y gweddïais; a'r Arglwydd a roddodd i mi fy nymuniad a ddymunais ganddo."

GWRTHDDADL V.

Gall ereill yn mhellach wrthddadlu a dywedyd, Gwnawn

inau yru yn mlaen fasnach ddirgel gyda Duw, gwnawn inau ymarferyd fy hun mewn gweddi ddirgel, pe bae genyf ond lle cyfleus i ymneillduo iddo, pe bae genyf ond lle dirgelaidd i ddadfynwesu fy enaid i'm Tad ynddo.

I'r wrthddadl hon yr wyf yn ateb,

1. Yr wyf yn tybied nad yw yr wrthddadl hon yn perthyn ond i ychydig yn ein dyddiau ni. Y Duw hwnw ag sydd wedi rhoddi Crist i gredinwyr, sydd, yn gyffredin, yn rhoddi iddynt fan cyfleus i fwynhau cymdeithas ddirgelaidd âg ef ynddo. Y mae arnaf ofn fod ar y rhan fwyaf o Gristionogion eisiau calon yn hytrach na lle cyfleus at weddi ddirgel. Yr hyn ag y mae dynion yn gosod eu calon arno, mynant le ac amser i'w fwynhau, pa un bynag ai da ai drwg fydd, pa un ai perthyn i bethau tymorol, ai ysbrydol, ai pethau y byd hwn neu y llall, y bywyd hwn neu un gwell. Pe gwnai dynion ond ymofyn am well calonau, buan y mynent fanau cyfleus at weddi ddirgel. Pwy bynag sydd wedi ei lenwi â chariad tuag at Dduw, a ddichon yn ddiau gael lle i fwynhau cymdeithas ddirgelaidd â Duw. Myn cariadon allan fan i fwynhau eu gilydd ynddo. Pa sawl un sydd yn gallu yn hawdd gael allan fanau dirgel i'w cŵn i orwedd ynddynt, a'u moch i gysgu ynddynt, a'u ceffylau i sefyll ynddynt, a'u hychain i bori ynddynt, ond yn methu cael allan fan dirgel i geisio wyneb Duw ynddo? Ond pe bae y dynion hyn ond yn caru eu Duw, neu eu heneidiau, neu weddi ddirgel, neu dragwyddoldeb, megys neu yn well na'u hanifeiliaid, ni fyddent y fath ynfydion, ond buan y mynent allan fan i ddysgwyl wrth yr Arglwydd ynddo. Ond,

2. Yr wyf yn ateb, Pe bae y Cristion ar nen y tŷ gyda Phedr, gallai weddïo o'r fan hòno; neu gydag Isaac yn rhodio yn y maes, gallai weddïo yn y fan hòno; neu pe bae ar y mynydd gyda Christ, gallai weddïo o'r fan hòno; neu y tu cefn i'r drws gyda Phaul, gallai weddïo yn y fan hòno; neu pe bae yn gweini i'r bwrdd gyda Nehemia, gallai weddïo yn ddirgel o'r fan hòno; neu pe

bae mewn coedwig, gallai weddío o'r fan hòno, fel y gwnaeth y prif gristionogion yn amser yr erledigaeth; neu pe bae yn nghysgod pren, gallai weddïo yno; neu pe bae ar lan y môr, gallai weddïo yno, megys y gwnaeth yr apostolion. Yr oedd yn ddywediad dewisol o eiddo Austin, "Y mae pob sant yn deml i Dduw, a gall yr hwn sydd yn dwyn ei deml gydag ef, fyned i weddi pan y gwelo yn dda." Ni chafodd rhai saint gymaint o'r nefoedd i lawr i'w heneidiau erioed a phan gyda Duw yn y dirgel. O! yr amlygiadau dirgelaidd o ddwyfol gariad, y cusanau dirgelaidd, yr ymgofleidio dirgelaidd, y dylanwadau dirgelaidd, y cymundeb dirgelaidd gyda Duw, a gafodd ambell Gristion gwerthfawr yn y manau mwyaf annghyfanedd; fe allai tu cefn i'r drws, neu tu arall i'r mur, neu yr ochr arall i'r berth, neu tu cefn i'r gwyrdd-dŷ, neu yn nghysgod pren, neu yn nghysgod craig, neu yn nghysgod llwyn. Ond,

Yn olaf, A ddarfu i ti erioed yn dy sefyllfa ddiadgenedledig ddefnyddio dy holl synwyrau a'th ranau, ac ymegnio i'r eithaf i gael allan amseroedd cyfleus, a chonglau dirgel, a lleoedd annghyfanedd i bechu ynddynt, ac i ddianrhydeddu Duw ynddynt, ac i ddinystrio dy enaid dy hun ac ereill ynddynt? Do: yr wyf yn cofio gyda chywilydd a gorchwyledd mai felly yr oedd gyda mi pan oeddwn yn farw mewn camweddau a phechodau, ac yn rhodio yn ol helynt y byd hwn. O! pa faint ynte y mae yn perthynu i ti yn dy sefyllfa adnewyddol a santeiddiol, i ddefnyddio dy holl synwyrau a'th ranau, ac i ymdrechu i'r eithaf i gael allan yr amserau mwyaf cyfleus, a'r manau mwyaf dirgel ac annghyfanedd ag a ellir i anrhydeddu Duw ynddynt, ac i geisio llesad dy enaid dy hun ac ereill ynddynt O! na bae dynion mor ddifrifol, astud, a llafurus i gael allan dymorau addas a manau dirgel i foddloni, gwasanaethu, a gogoneddu yr Arglwydd ynddynt, mor ddifrifol, astud, a llafurus, ag y buont i gael allan amserau cyfleus a manau dirgel i anfoddloni a gofidio Ysbryd yr Arglwydd ynddynt.

GWRTHDDADL VI,—

Ac yn olaf. Gall ereill yn mhellach wrthddadlu, a dywedyd, Ni a fyddem yn aml gyda Duw yn y dirgel, ni a roddem ein hunain i fyny i ystafell weddi, eithr fel y cauom ddrws ein hystafell, y mae lliaws o wendidau, llesgedd, a gwagedd, yn ein gwynebu, ac yn cyfodi yn ein herbyn, gan fod ein calonau yn llawn o anhwyldeb ac ynfydrwydd, a'n cyrff, medd rhai, dan afiechyd mawr, a'n heneidiau, medd ereill, dan anhwyldeb cynyrchiol; gan hyny, pa fodd y gallwn ymofyn am bresenoldeb Duw yn y dirgel? Pa fodd y gallwn ymdrechu â Duw yn ein hystafelloedd?

Yn awr, i'r wrthddadl hon yr atebaf,

1. Pe bae y fath ymresymiadau neu wrthddadleuon a hyn yn ddigonol i gau allan weddi ddirgel tu allan i'r drysau, pa le y mae y dyn neu y ddynes, y gŵr neu y wraig, y tad neu y mab, y meistr neu y gwas hyny yn byw, a ymarferai byth â'r ddyledswydd hòno? Pa le y mae dyn dan y nef, yr hwn nad yw ei galon yn llawn o anhwyldeb, gwendid, ynfydrwydd, a gwagedd; a'r hwn nad yw ei gorff a'i enaid yn rhy aml mewn anhwyldeb at ddyledswyddau ystafellol? 1 Bren. viii. 46, "Os pechant i'th erbyn, (canys nid oes dyn ni phecha,) &c." Preg. vii. 20, "Canys nid *oes* dyn cyfiawn ar y ddaear a wna ddaioni, ac ni phecha." Diar. xx. 9, "Pwy a ddichon ddywedyd, Mi a lanheis fy nghalon, glân wyf oddi wrth fy mhechod?" Job xiv. 4, "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? neb." Job ix. 30, 31, "Os ymolchaf mewn dwfr eira, ac os glanhaf fy nwylaw yn lân: eto ti am trochi yn y pwll, a'm dillad a'm ffieiddiant." Adn. 20, "Os myfi a ymgyfiawnhaf, fy ngenau a'm barn yn euog; os perffaith y dywedaf fy mod, efe a'm barna yn gildyn." Salm cxliii. 2, "Ac na ddos i farn â'th was: o herwydd ni chyfiawnheir neb byw yn dy olwg di." Iago iii. 2, "Canys mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." 1 Ioan i. 8, "Os dywedwn nad oes ynom

bechod, yr ydym yn twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom." Pwy bynag sydd yn haeru y gall dyn fod yn hollol berffaith, neu yn ddibechod yn y bywyd hwn, sydd yn haeru yr hyn sydd yn eithaf gwrthwynebol i'r Ysgrythyrau a goffawyd ddiweddaf, ac i brofiad cyffredinol yr holl saint, y rhai sydd yn teimlo ac yn galaru yn feunyddiol oblegid y corff hwnw o bechod a marwolaeth y maent yn ei ddwyn gyda hwynt; ïe, y maent yn haeru yr hyn sydd yn eithaf croes, hyd yn nod i sefyllfa ac ansoddiad yr holl saint yn y bywyd hwn. Yn yr holl saint, y mae y cnawd yn chwenychu yn erbyn yr ysbryd, a'r ysbryd yn erbyn y cnawd; a'r rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd, fel na allant wneuthur yr hyn a ewyllysient. Y mae yn mhob dyn duwiol ddau ddyn, yr hen ddyn, a'r dyn newydd; y mae yn rhaid gwisgo y naill yn feunyddiol, a beunyddiol ddiosg y llall. Y mae gan yr holl saint ddeddf yn eu haelodau yn gwrthryfela yn erbyn deddf y meddwl, fel nad ydynt yn gwneuthur y da y maent yn ei ewyllysio, ond y drwg yr hwn nid ydynt yn ei ewyllysio, hyny y maent yn ei wneuthur; y mae ynddynt ddwy egwyddor wrthwynebol, o'r rhai hyn y tardda dau ddull o weithrediadau, gogwyddiadau, a thueddiadau, yn barhaus yn groes i'w gilydd; oddi yma y mae ymladdfa barhaus ynddynt, megys ymdrech y gefeilliaid yn nghroth Rebecca. I sefyllfa orfoleddus etholedigion Duw yn y nefoedd y mae hollol berffeithrwydd yn briodol; y nefoedd yw yr unig le rhagorfreintiol, lle nad â dim aflan i mewn, hwnw yw yr unig le lle na chaiff pechod a Satan byth waelodi. Y cyfryw ag sydd yn breuddwydio am hollol berffeithrwydd yn y bywyd hwn, sydd yn cymysgu ac yn pentyru nefoedd a daear yn nghyd; sefyllfa yr eglwys filwriaethus â sefyllfa yr eglwys orfoleddus, y rhai sydd yn wahanol yn ddiau, mewn amser, lle, trefn, gradd, a chymdeithion. Y mae y farn gyfeiliornus o hollol berffeithrwydd, yn ysgwyd sylfaen crefydd, ac yn dadymchwel efengyl gras; y mae yn gosod Iawn Crist, a'i holl gyflawniadau mawr yn ofer; y mae yn dywedyd wrth y byd nad

oes angen am ffydd, am edifeirwch, am ordinhadau, am wyliadwriaeth; y rhai sydd yn dweyd nad oes ynddynt bechod, sydd yn dweyd nad oes raid iddynt wrth waed Crist i'w glanhau oddi wrth bechod;—y cyfryw sydd yn dweyd nad oes ynddynt bechod, sydd yn dweyd nad rhaid iddynt wrth ffydd i orphwys ar Grist am gyfiawnder cyfrifol i gyfiawnhau eu personau;—y cyfryw sydd yn dweyd nad oes ynddynt bechod, sydd yn dweyd nad rhaid iddynt wrth Grist fel brenin, i ddarostwng eu chwantau, nag fel offeiriad, i wneyd Iawn am eu troseddau, nag fel proffwyd, i'w dysgu a'u haddysgu, nag fel Iachawdwr, i'w gwared oddiwrth eu pechodau, ac oddi wrth y digofaint sydd ar ddyfod. Nid rhaid i'r cyfryw ag sydd ganddynt gyfiawnder perffaith o'u heiddo eu hunain edrych at Grist am ei gyfiawnder pur, perffaith, difrychau, a digyffelyb Ef:—nid oes raid i'r cyfryw ag sydd yn ddibechod i edifarhau am bechod, nac ychwaith i wylio yn erbyn pechod:—ni ddichon i'r rhai dibechod ddywedyd, Gweision anfuddiol ydym. Eithr ai cyfiawn ydynt mewn gwirionedd? yna rhaid iddynt fyw trwy ffydd: Heb. xi. 4. Ai dynion ydynt, ac nid angylion? yna rhaid iddynt edifarhau: Act. xvii. 30, "Canys y mae efe yr awr hon yn gorchymyn i bob dyn, yn mhob man, i edifarhau." Nid yw y goreu o ddynion ond dynion ar y goreu. O! pa gynddrwg sydd raid fod y dynion hyny, y rhai sydd yn gwneuthur Duw ei hun yn gelwyddog? 1 Ioan i. 10. Eithr os yw y dynion hyn yn hollol berffaith, o ba le gan hyny y mae afiechyd ac anhwyldeb yn eu dal fel dynion ereill? Pa fodd, gan hyny, y maent yn bwyta, yfed, cysgu, prynu, gwerthu, ac yn marw fel dynion ereill? A ydyw y pethau hyn yn gyson â pherffeithrwydd dibechod? Nac ydynt, yn ddiau. Nid yw hollol berffeithrwydd yn un gris yn is na'r nefoedd, nefoedd ydyw yr ochr hyn i'r nefoedd; a'r rhai hyny a'i cyraeddant, rhaid iddynt gamu i'r nefoedd cyn y cyraeddant ef. Ond,

2. Yr wyf yn ateb, fod yr wrthddadl hon yn taro mor

nerthol yn erbyn gweddi deuluaidd, ac yn erbyn pob math o weddi arall, ag ydyw yn erbyn gweddi ddirgel: pwy bynag a wna ar unrhyw dir esgeuluso gweddi ddirgel, a all ar yr un tir eugeuluso pob math o weddi, a phob dyledswydd grefyddol arall, pa un ai dirgel ai cyhoeddus. Y mae ysbryd yr wrthddadl hon yn ymladd yn erbyn yr oll o grefydd ar unwaith; ac am hyny, dylech ddywedyd wrtho megys y dywedodd Crist wrth Pedr, "Dos yn fy ol i, Satan." Ond,

3. Yr wyf yn ateb, mai nid yr anhwyldeb a'r gwendidau, y rhai a ganfydda, y galara, y gofidia, ac y gwrthwyneba y Cristion hwynt, a ddichon attal a rhwystro effeithioldeb a llwyddiant ei weddïau: gwnaf egluro hyn trwy ychydig siamplau.—Jonah oedd ŵr llawn o nwydau pechadurus, a gwendidau ereill, ac eto yr oedd ei weddi yn llwyddiannus gyda Duw. Jonah ii. 1, 2, 7, 10, wedi eu cymharu. Felly yr oedd gweddïau Elias yn llwyddiannus iawn gyda Duw: gallai agor a chau y nefoedd wrth ei ewyllys, ac eto yn ddeiliad i'r un gyffelyb nwydau a ninau: yr oedd Elias yn wr o burdeb a santeiddrwydd neillduol; gŵr ag oedd yn byw yn y nefoedd, tra yr oedd yn preswylio ar y ddaear; fel Enoch, efe a rodiodd gyda Duw, ac eto, yn ddarostyngedig i nwydau fel ninau: Duw, mewn modd neillduol, a gyfranodd iddo ei gyngor a'i gyfrinachau, yr oedd yn gorwedd yn mynwes y Tad, ac eto yn wr yn rhaid dyoddef fel ninau: yr oedd yn broffwyd galluog a llwyddiannus iawn, y mae ei enw yn arwyddo cymaint, y mae Elias yn arwyddaw, fy Nuw galluog. Yn 1 Bren. xvii. 1, Eli-jahu ydyw, h. y., yr Arglwydd efe yw fy Nuw galluog, ac eto yn ddarostyngedig i nwydau fel ninau: yr oedd yn wr mawr mewn ympryd a gweddi; yr oedd yn is-gyfryngwr rhwng Duw a'i bobl, ac eto yn rhaid dyoddef fel ninau. Yn awr, oblegid y gall rhai oddi yma wrthddadlu, a dywedyd, nid rhyfedd fod y fath ddyn ag oedd ef yn gallu agor a chau y nefoedd wrth ei ewyllys; eithr creadur tlawd, eiddil, isel, pechadurus, ac annheilwng, ydywf fi; ac yr ydwyf fi yn llawn o

anhwyldeb, gwendidau, a nwydau; ac a ddichon fy ngweddïau i un amser gael mynedfa at Dduw, a bod yn gymeradwy gydag ef, neu gael atebion graslawn oddi wrtho ef? Yn awr, i droi heibio yr wrthddadl hon, a symud y gwangalondid hyn allan o feddyliau a chalonau pechaduriaid truain, y mae yr Ysbryd Glân yn chwanegu y rhan hon, mai nid Duw ydoedd, nac angel, eithr dyn, a chyfryw ddyn ag nad oedd wedi ei ryddhau oddi wrth wendidau cyffredin; canys yr oedd iddo ef ei nwydau, colledion, a gwendidau, fel ereill o'r saint, gan arddangos i ni na wnai gwendidau y gwaelaf o'r saint ddim mwy o niwaid i gymeradwyaeth a llwyddiant eu gweddïau gyda Duw, nag a wnaethant i Elias ei hun. Y mae y gair *nwyd* weithiau yn arwyddo, 1. Ysgogiad y blys anianol yn cyfodi oddi ar ddychymyg o dda neu ddrwg, gyda rhyw gyffroad yn y corff. 2. Weithiau yn arwyddo gwendidau pechadurus, cynhyrfiadau pechadurus y meddwl. Ac yn 3. Fe'i cymerir weithiau yn gyfyngach am gyffroad neillduol o ddigter a llid pechadurus, yr hyn a eilw Chrysostom *brevis Dæmon*, Diafol cwta. Gwna i ddyn lefaru yr hyn ni wyr pa beth, fel y gellwch weled yn Jonah; ac i wneuthur ni wyr pa beth, fel y gellwch weled yn Saul. Yn awr, yn y ddau ystyr diweddaf hyn, yr oedd Elias yn wr yn rhaid dyoddef fel ninau, ac eto yn wr mor nerthol gyda Duw, fel, trwy weddi ddirgel, efe a allai wneuthur yr hyn a fynai yn llŷs y nefoedd. Yn 1 Sam. xxi, gellwch ddarllen am gelwyddau cylchol Dafydd, ac am ereill o'i lithriadau a'i wendidau, a'i ymddygiad anaddus o flaen Achis brenin Gath, am yr hyn y trowyd ef allan o wydd y brenin dan y dyb o ynfydddyn, ac eto hyd yn nod yn yr amser hwnw, gweddïodd a llwyddodd gyda Duw am ffafr, trugaredd, a gwaredigaeth. Salm xxxiv. 4, "Ceisiais yr Arglwydd, ac efe a'm gwrandawodd, ac a'm gwaredodd o'm holl ofnau." Ond pa bryd oedd hyn? Darllenwch deitl y Salm, a chwi a'i cewch—"Salm Dafydd, pan newidiodd ei wedd o flaen Abimelech, yr hwn a'i gyrodd ef ymaith, ac efe a ym-

adawodd." Yn Num. xx. 10—12, nodir allan wendidau Moses: 1. Cewch yno ei ddigter annghymedrol. 2. Iddo lefaru wrth y bobl, pan y dylasai lefaru wrth y graig, adn. 8. 3. Ei tharaw hi, pan na ddylasai ond yn unig lefaru wrthi, â'i wialen yn ei law; a'i tharaw hi ddwywaith, megys mewn nwyd ac anmhwyllder. 4. Ei anymddiried i air yr Arglwydd, adn. 12. 5. Gwawdio y bobl, pan y dylasai eu hargyhoeddi; "Gwrandewch yn awr, chwi wrthryfelwyr." 6. Y mae yn ymddangos mor dramgwyddedig wrth ei anfoniad, fel mai prin y gallodd ymattal rhag grwgnach: "Ai o'r graig hon y tynwn i chwi ddwfr?" Saes., "A raid i ni dynu dwfr o'r graig?" Nodwch ar y gair a *raid* i ni. O! pa fodd yr alltudiwyd y dyn llareiddiaf yn y byd i nwyd, digter, ac annghrediniaeth, ac ei gyrwyd i anweddeidd-dra mor flin; eto nid oedd dyn ar y ddaear a'i weddïau mor nerthol a llwyddiannus gyda Duw a'r eiddo Moses: Salm cvi. 23; Exod. xxxii. 9—15, xxxiii. 11—17, xiv. 13—16, &c. Felly yr oedd y brenin Asa yn wr llawn o waeleddau a gwendidau, efe a bwysodd ar frenin Syria, ac nid ar yr Arglwydd; yr oedd yn anamyneddgar iawn, ac mewn digllonedd mawr wrth gerydd y gweledydd—carcharodd y gweledydd; efe a orthrymodd rai o'r bobl, neu fel y mae yn ol yr Hebraeg, efe a faluriodd, neu efe a sathrodd ar rai o'r bobl yn yr amser hwnw; a phan glafychodd yn fawr o'i draed, efe a ymgeisiodd â'r meddygon ac nid â'r Arglwydd; ac er hyny yr oedd gweddi y gŵr hwn yn llwyddiannus ryfeddol gyda Duw. 2 Chron. xiv. 11—15. Nis gall gwaeleddau y saint byth ddiddymu yr addewidion graslawn hyny yn mha rai y mae Duw yn sefyll yn ymrwymiadol i wrandaw gweddiau ei bobl. Nid yw gwrandawiad Duw o'n gweddiau yn sefyll ar santeiddhad, ond ar eiriolaeth Crist; nid ar yr hyn ydym ni ynom ein hunain, ond ar yr hyn ydym yn yr Arglwydd Iesu: y mae ein personau a'n gweddiau hefyd yn gymeradwy yn yr Anwylyd. Eph. i. 6; 1 Pedr ii. 5. Pan y mae Duw yn gwrandaw ein gweddïau, nid yw yn ei

wneuthur er ein mwyn ni, nac er mwyn ein gweddïau chwaith; ond er ei fwyn ei hun, ac er mwyn ei ogoniant, ac er mwyn ei addewid.

Diau na wna Duw fwrw ymaith ei bobl am eu gwaeleddau.

(1.) Gogoniant dyn yw myned heibio i waeleddau. O! pa faint mwy y rhaid ei fod yn ogoniant yn Nuw i fyned heibio i waeleddau ei bobl!

(2.) Y mae y saint yn blant: a pha dad sydd a dry ymaith ei blant am eu gwaeleddau a'u gwendidau?

(3.) Y mae y saint yn aelodau o gorff Crist: a phwy a dyr ymaith ei aelod oblegid rhyw grachen neu ddafaden a fyddo arno? Pa ŵr a dyr ymaith ei drwyn, medd Luther, oblegid fod rhyw aflendid ynddo.

(4.) Prynedigion Crist yw y saint, ei eiddo a'i etifeddiaeth ydynt: a pha ddyn sydd a dry ymaith neu a deifl heibio ei bryniad, ei eiddo, a'i etifeddiaeth, oblegid y drain, y llwyni, a'r dyrysni ag sydd yn tyfu ar hyd-ddo?

(5.) Y mae y saint mewn cyfammod priodasol â Duw: yn awr, pa wr a dry ymaith ei wraig am ei cholliadau a'i gwaeleddau? Tra byddo dyn mewn cyfammod â Duw, nis gall ei wendidau ei dori allan o drugaredd a gras Duw: yn awr, sicr yw y gall fod gan ddyn lawer o waeleddau ynddo, ac eto heb dori ei gyfammod â Duw; oblegid nid oes yr un pechod yn tori cyfammod gŵr â Duw, ond y cyfryw ag sydd yn dattod y cwlwm priodasol; megys mewn priodasau ereill, nad yw pob trosedd neu waeleddau yn diddymu yr undeb priodasol: drylliad o'r adduned briodasol yn unig, sef godineb, sydd yn dattod y cwlwm priodasol; felly yma, y pechodau hyny yn unig ag sydd y dryllio y cyfammod, sydd yn dattod y cwlwm priodasol rhwng yr enaid a Duw: 1. Pan y mae dynion yn darostwng eu hunain i unrhyw chwant fel meistr newydd; neu 2. Pan y mae dynion yn cymeryd gŵr arall; a hyn a wna dynion pan y maent yn ymgyfammodi â phechod neu â'r byd, pan y maent yn gwneyd cyngrair newydd âg uffern ac âg angeu. Yn awr, y mae

Duw yn diogelu ei ddewisolion rhag y pethau hyn. Mewn gair, pe gwnai Duw droi ymaith ei ddewisolion am eu gwaeleddau, yna nis gallai yr un o feibion neu ferched Adda fod yn gadwedig; "Canys nid oes dyn cyfiawn ar y ddaear, a wna ddaioni, ac ni phecha." Preg. vii. 20. Gan hyny, os na thry Duw ymaith ei bobl am eu gwaeleddau, yna yn ddiau ni thry heibio weddïau ei bobl am yr amrywiol waeleddau hyny ag sydd yn crogi arnynt; ac am hyny, ni ddylai gwendidau ein gwangaloni na'n diddyfnu oddiwrth ystafell weddi, nac oddi wrth unrhyw ddyledswyddau crefyddol ereill. Ond,

4. Yr wyf yn ateb, pa fwyaf o waeleddau a gwendidau sydd yn nglyn â ni, mwyaf oll o achos sydd genym i barhaus lynu wrth ein dyledswyddau ystafellol. Os bydd gras yn wan, gwna esgeuluso gweddi ddirgel ei wneyd yn wanach, a gwna yr hwn na fwyta wanhau fwy-fwy yn ddiau; felly yr hwn na weddïa yn ei ystafell, yn ddiau, a wanha fwy-fwy. Os bydd llygredigaethau yn gryfion, gwna esgeuluso gweddi hwy yn gryfach. Pa fwyaf yr esgeulusir y feddyginiaeth, mwyaf i gyd y cryfha yr afiechyd. Pa beth bynag fyddo afiechyd calon dyn, ni leiha byth, eithr cynydda wrth esgeuluso gweddi ddirgel. Pa fwyaf o wendidau corfforol fyddo yn nghlyn wrthym, mwyaf oll fydd o eisiau meddyg arnom; ac felly, pa fwyaf o wendidau pechaduras fyddo yn nghlyn â'n heneidiau, mwyaf i gyd fydd o angen arnom am weddi ddirgel. Rhydd pob esgeulusiad pechadurus waith i edifeirwch, i uffern, ac i feddyg eneidiau. Y mae pob esgeulusiad pechadurus yn arwain i gyflawniadau pechadurus, fel y gellwch weled yn yr angylion a syrthiodd o'r neofedd i uffern, ac yn nghwymp Adda yn Mharadwys.

Origen, wrth fyned i gysuro a chalonogi merthyr ag oedd i gael ei arteithio, a ddaliwyd ei hun gan y swyddwyr, ac a ddirgymhellwyd naill ai aberthu i eilunod, neu i'w gorff gael ei anmharchu gan ddyn dû ag oedd yn

barod i'r perwyl hwnw; o'r hwn ddewisiad caled, i gadw ei fywyd, efe a ymostyngodd i'r ddelw; eithr ar ol hyn, wrth wneyd cyfaddefiad gofidus o'i weithred fyrbwyll, dywedodd iddo fyned allan y bore hwnw cyn iddo fod gyda Duw yn ei ystafell, ac felly casglodd yn ddios mai ei esgeulusiad o weddi oedd yr achos o'i syrthiad i'r pechod mawr hwnw.

Esgeulusiad o un dydd, o un ddyledswydd, o un awr, a'n dinystriai oni bae fod genym Eiriolwr gyda'r Tad. Y blynyddoedd, y misoedd, yr wythnosau, y dyddiau, a'r oriau hyny ag nad ydynt yn cael eu llanw i fyny gyda Duw, gyda Christ, gyda gras, a chyda dyledswydd, a lenwir i fyny, yn ddiau, gyda gwagedd ac ynfydrwydd. Pob coll mewn dyledswydd a anaddasa yr enaid fwy-fwy at y ddyledswydd; allwedd wedi ei thaflu heibio sydd yn casglu rhwd; sugnedydd (*pump*) heb ei ddefnyddio sydd yn anhawdd ei gael i fyned: anhawdd y ceir arfogaeth yn lân nad yw yn cael ei defnyddio. Ac megys y gwna cyflawniadau pechadurus frathu yr enaid, felly y gwna esgeulusderau pechadurus newynu yr enaid. Da y gall y cyfryw ag sydd yn byw mewn esgeulusiad o weddi ddirgel waeddi allan, "Ein culni, ein culni." Ac am hyny, ymaith â'r holl ddadleuon a'r rhesymau hyn yn nghlych gwaeleddau, gwendidau, ac anhwylderau, ac ymosodwch eich hunain i weddi ddirgel. Ond,

5. Yr wyf yn ateb, hwyrach nad yw dy anhwyldeb a'th afiechyd mor fawr fel nad elli brynu, a gwerthu, ac elwa, er dy ben poenus, dy gefn gwynegus, dy ochrau dolurus, a'th gliniau egwanus; ti a elli gyda Martha, ymdrafferthu dy hun yn nghylch dy orchwylion bydol. Yn Can. v. 3, y mae Crist yn galw ar ei ddyweddi i agor y drws, ac i'w ollwng i mewn; ond gan i bechod ac esgusodion ddyfod i'r byd, gwelwch mor wael ac annheilwng y mae hi yn llafurio i yru Crist ymaith, "Diosgais fy mhais, pa fodd y gwisgaf hi? golchais fy nhraed, pa fodd y difwynaf hwynt?" Yn hytrach nag iddi fod heb *un* esgus, gwna esgus diddim a diwerth. Yr oedd hi

wedi myned dros oedran plentyn, a pha gymaint gorchwyl a fuasai ganddi *mewn llaw* i godi i ollwng i mewn y fath ymwelwr ag oedd yn dwyn i mewn gydag ef bob peth a allai calon ei ddymuno, neu angen ei ofyn: nid oedd hi mor fethedig gan henaint, fel nad oedd yn alluog i osod ei hun yn barod; o'r hyn lleiaf gallasai daflu am dani ei boreuol wisg yn hawdd, a neidio i'r drws heb yr un perygl i gael yr anwyd, neu o wlychu i'r croen, ac felly i'w ollwng i mewn, yr hwn nad yw byth yn dyfod yn waglaw; ïe, yr hwn ag oedd yn awr yn dyfod yn llawn o wlith dwyfol fendithion i'w chyfoethogi; oblegid felly y cymer rhai y geiriau, "Llanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynau y nos." O! yr esgusodion diddim a gwag ag y mae hyd yn nod dynion duwiol yn barod i'w gwneyd i amddiffyn eu hesgusodion o ddyledswydd.

Eithr dichon rhai ddywedyd, Hwyrach fod dyweddi Crist yn cysgu: o na, oblegid hi a ddywed, Can. v. 2, "Myfi sydd yn cysgu a'm calon yn effro." Yr oedd hi yn cysgu â llygaid agored, fel y gwna y llew; nid cysgu, eithr hanner cysgu yr oedd; er fod ei dyn oddi allan mewn trymder, eto yr oedd ei dyn oddi mewn yn effro; er i'w chnawd gymeryd hûn, eto ni wnaeth ei hysbryd felly.

Ond hwyrach na wnaeth Crist ddim ystwr, na rhoddi un rhybudd ei fod wrth y drws: O do; curodd â morthwyl ei air, ac â llaw ei ysbryd; curodd trwy argyhoeddiadau allanol ac annogaethau tufewnol; curodd trwy ragluniaethau a thrwy drugareddau; yr oedd ei daerineb a'i wresogrwydd am fynedfa yn fawr iawn.

Ond hwyrach na wnaeth ond curo, dylasai alw yn gystal a churo; oblegid nid oes neb ond ynfydion a agorant eu drysau yn y nos, oddieithr eu bod yn adwaen llais yr hwn sydd yn curo: O do; oblegid nid curo yn unig a wnaeth, eithr galwodd hefyd.

Ond fe allai nad oedd hi yn adwaen ei lais, ac am

hyny ni wnai agor. Ni chyfyd un wraig ddiwair mewn anamser o'r nos i agor ei drysau i ddyeithryn, yn enwedig yn absenoldeb ei phriod: O ydoedd, yr oedd yn adwaen ei lais, "Llais fy anwylyd yw yr hwn sydd yn curo;" nid oedd hi yn cysgu mor drwm fel nad oedd yn adwaen llais ei hanwylyd oddi wrth bob lleisiau ereill, ac fel na allasai adrodd pob gair a ddywedodd; yr oedd llefau Crist mor gryf, mor uchel, mor nerthol, fel na allasai lai nag adnabod a chyffesu, mai llais ei hanwylyd oedd, er nad oedd hi mor barchus a ffyddlon ag ufuddhau i'r llais.

Ond hwyrach i Grist guro a galw fel cyfaill ar ei daith yn unig, i ofyn pa fodd yr oedd hi, neu i ymddyddan â hi wrth y ffenestr: O na, y mae yn llefaru yn eglur, y mae yn llefaru gydag awdurdod, "Agor i mi."

Ond fe ddichon nad oedd ganddi un awdurdod i agor y drws: O oedd; oblegid pan y mae efe yn gorchymyn i'w bobl i agor, y mae yn rhodddi benthyg yr agoriad iddynt i agor y drws, fel y gallo efe fyned i mewn. Gras tywalltiadol sydd egwyddor fywydol, ac a alluoga yr enaid i agor i Grist. Os nad yw dyn drwy gymhorth gras derbyniadol yn rhydd-weithredydd i weithio ac i weithredu, i ba ddyben y rhoddir cynghorion, gorchymynion, annogaethau, a chyfarwyddiadau, i gyflawni hyn neu hyny, neu waith arall? A sicr yw mai ein anrhydedd a'n dedwyddwch mwyaf yn y byd hwn yw cydweithredu â Duw yn y pethau hyny ag sydd yn perthynu i'w ogoniant ef, a'n tragwyddol ddaioni ninau.

Ond hwyrach i Grist roddi i'w ddyweddi ryw ddiflasdod, neu hwyrach iddo ollwng allan ryw eiriau caled, neu ddywediadau annheilwng ag a'i gwnaeth hi ychydig yn gildyn a digofus: O na; oblegid yr oedd yn ei harddel fel ei anwylyd, ac yr oedd yn ei charu yn y modd mwyaf anwyl a chyfeillgar o gariad, "Fy chwaer, fy anwylyd, fy ngholomen, fy nihalog, neu fy un berffaith, (yr oedd yn ei galw felly oblegid ei diniweidrwydd,

purdeb, a'i huniondeb colomenaidd,) yr holl deitlau anwyl anrhydeddus hyn ydynt areithyddiaeth dwyfol gariad, ac a ddylasai fod fel cynifer o ymrwymiadau cysegredig i agor i'w hanwylyd.

Ond hwyrach fod Crist yn rhy fuan iddi, fe allai iddo roddi ergyd a galwad, a'i fod wedi myned ymaith cyn iddi allu codi ac agor y drws: O na, safodd Crist nes oedd ei ben wedi ei lanw â gwlith, a'i wallt â defnynau y nos; pa eiriau tanllyd a noda ddaioni, amynedd, ac anwyl addfwynder ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn sydd wedi dyoddef llawer mwy a chaletach pethau er mwyn ei ddyweddi nag a wnaeth Jacob erioed er mwyn ei Rahel. Ac wedi i Grist ddyoddef llawer er ei mwyn, a dysgwyl yn hir wrth ei hamdden, gwnaeth hi yn eithaf annghāredig, ac yn eithaf anfoesgar ac annheilwng, droi ei chefn ar ei holl ddeisyfiadau melus a chysurlawn, a'i ymgofleidiau bendigedig a gwaedlyd, ac a'i tröodd ymaith i edrych am lety mewn rhyw le arall; ac felly, da y gallasai efe ddywedyd, "Ai dyma dy garedigrwydd i'th gyfaill, i'th briod, i'th Arglwydd, dyoddef iddo sefyll yn bennoeth, a hyny mewn tywydd garw; ïe, yn y nos yn erfyn, yn deisyf, ac yn dymuno am dderbyniad, ac eto yn ei droi ymaith fel un na byddai un hyfrydwch gan dy enaid ynddo?"

Yn awr, pe gwnaech ond pwyso yn ystyriol yr holl amgylchiadau hyn yn nghlorian y cysegr, gellwch redeg a darllen fai, ffoledd, gwendid, ac ynfydrwydd, diystyrwch, a diogi y ddyweddi; a thrwyddi hi y gelli farnu am yr anhwyldeb gwael phechadurus a ddichon orddiwes y goreu o'r saint, a gweled mor barod yw y cnawd i ffurfio esgusodion, a'r oll at gadw yr enaid oddi wrth ddyledswydd, a'r dorau wedi eu cloi yn gedyrn yn erbyn yr Arglwydd Iesu.

Y mae yn erchyll fod dynion yn ddigon iach i eistedd, a chlebran, a masnachu, yn eu masnach-dai, ond nid yn ddigon iach i weddïo yn eu hystafelloedd. Diameu nad yw calon y dyn hwnw yn uniawn gyda Duw, (o'r

hyn lleiaf ar y pryd hwnw,) yr hwn, er ei holl anhwyldeb corfforol, a ddichon gadw a chynal i fyny ei fasnach gyda dynion, ond nid yn ddigon iach i gynal ei fasnach ddirgel rhyngddo a'r nefoedd. Nid yw ein cyrff ond clai wedi ei dymheru yn hardd, a'i ffurfio yn gelfyddgar; y mae ein hâch yn deilliaw o'r, ac yn berthynas agos i'r clai. Geilw un y corff, "Man dû natur;" arall a'i geilw, "Bwystfil yr enaid, sach o dom, ymborth pryfed;" arall a'i geilw, "Carchar a beddrod;" a geilw Paul ef, "Corff gwael." Yn awr, i ddyn wneyd cymaint trafferth yn nghylch afiechyd ei gorff, ac i ymesgusodi ei esgeulusdod am ei enaid sy ddrwg y drygau. Ond mewn gwirionedd, Syr, yr wyf fi mor wael, ac y mae fy nghorff mor afiach ac anhwylus fel nad wyf fi yn abl i feddwl nac i ymdrin â'r lleiaf o bethau y byd: wele, os felly, yna gwybydd i Dduw dy ymlid di ymaith oddi wrth pethau y byd hwn, fel y gallech di edrych yn fwy effeithiol ar ol pethau y byd arall. Dyben Duw yn cystuddio dy gorff yw dy droi ymaith yn fwy oddi wrth dy fasnach fydol, a'th weithio yn fwy at fasnach nefol.

Ni chawsai lawer dyn byth afael ar y ffordd i'w ystafell pe na buasai i Dduw, trwy afiechyd corff, ei droi ef allan o'i fasnachdy, ei farsiandiaeth, ei orchwyl, a'i oll.

Wele, Gristionogion, unwaith am oll, cofiwch hyn, os yw eich anallu at ystafell weddi yn tarddu yn wirioneddol oddi ar afiechyd corff, yna gellwch hyderu y gwna yr Arglwydd dosturio wrthych a chydymddwyn â chwi, ac y gwna dderbyniad croesawus o ychydig: gwyddoch pa mor dirion y mae rheini a meistri hynaws yn ymddwyn tuag at eu plant a'u gweision pan mewn anhwyldeb corfforol, a gellwch fod yn sicr nad ymddyga Duw yn waeth tuag atoch chwi, nag a wnaent hwythau iddynt hwy. Myfyriwch yn aml ar Ezec. xxxiv. 4, 16, 21, 23. Ond,

6, ac yn olaf. Atebaf yr wrthddadl hon mewn ffordd o wahaniaeth, fel hyn,—

(1.) Y mae annhuedd wedi ei dynu genym ni ein hunain at weddi ddirgel, ac y mae annhuedd an-

ewyllysgar at weddi. Annhuedd cydgasgliadol yw pan y mae dyn wrth bechu yn wirfoddol yn erbyn goleuni, gwybodaeth, ac argyhoeddiadau, &c., yn tynu arno yr euogrwydd hwnw ag sydd yn gorwedd ar ei gydwybod. Yn awr, y mae euogrwydd yn pellhau yr enaid oddi wrth Dduw; a pha fwyaf fo yr euogrwydd, mwyaf gochelgar fydd yr enaid o nesau at Dduw yn y dirgel. Y mae y plentyn ag sydd yn ystyriol o'i euogrwydd yn ymguddio, fel Adda, liw dydd o olwg ei dad, a thua'r nos yn neidio i'r gwely i ochel naill ai cerydd neu fflangelliad gan ei dad. Y mae euogrwydd yn gwneyd i'r enaid ffoi oddi wrth Dduw, ac i ffoi oddiwrth weddi. Peth anhawdd yw edrych yn ngwyneb Duw pan y mae euogrwydd yn llygad-rythu yn ngwyneb y dyn. Y mae euogrwydd yn gwneyd dyn yn ddychryn iddo ei hun, nid yw yn gymhwys i fyw nac i farw, nac yn gymhwys i weddïo ychwaith. Pan êl gwenwyn i mewn i'r corff y mae yn gweithredu ar yr ysbrydoedd, ac y mae yn gwanhau yr ysbrydoedd, ac y mae yn peryglu y bywyd, yn anaddasu ac yn annghymhwyso y dyn at yr oll o orchwylion natur; felly yma, pan y mae euogrwydd yn gorphwys yn drwm ar y gydwybod, y mae yn gweithredu ar yr enaid, y mae yn gwanhau ac yn peryglu yr enaid, ac yn rhyfeddol anaddasu ac annghymhwyso yr enaid at bob gweithrediad santaidd. Y mae euogrwydd yn ymladd yn erbyn ein heneidiau, ein cydwybodau, ein cysuron, ein dyledswyddau, ïe, ac hyd yn nod ein grasusau hefyd. Nid oes dim a archolla, a wanha, ac a attal weithrediad ein grasusau fel euogrwydd, ac nid oes dim a gymyla ein sicrwydd o ras fel euogrwydd; gwelwn mai yr hyn yw y dwfr i'r tân, hyny yw ein pechu i'n grasusau, i'n profiadau, a'n dyledswyddau. Y mae euogrwydd fel Vulture Prometheus, yr hon sy bob amser yn cnoi. Y mae yn well gydag Evagrius i orwedd ar wely o wellt gyda chydwybod dda, na gorwedd ar wely o fânblu (*down*) gyda chydwybod euog. Yr hyn a ddywedodd y dysgybl prawfol wrth ein Hiachawdwr, Mat. viii. 19,

"Athraw, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych," hyny a ddywed cydwybod euog wrth y pechadur, Mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych.

Dywedir am y brenin Richard y Trydydd, wedi iddo ladd ei ddau nai yn y Tŵr, fod euogrwydd yn gorwedd mor drwm ar ei gydwybod, nes oedd ei gwsg yn anesmwyth iawn iddo; oblegid gwnai yn aml neidio allan o'i wely yn y tywyll, a chan ymaflyd â'i law yn ei gleddyf, yr hwn oedd yn crogi wrth ochr ei wely, efe a âi fel un trallodedig oddi amgylch ei ystafell, gan ymofyn am y bradwr.

Felly Charles y Nawfed, o Ffrainc, wedi gwneyd i heolydd Paris redeg o waed y Protestaniaid, anfynych y gallasai gysgu yn esmwyth, ac nis gallasai oddef i gael ei ddeffroi o'i gwsg heb gerddoriaeth.

Y barnwr Morgan, yr hwn a basiodd y ddedfryd o gondemniad ar Jane Grey, (pendefiges rinweddol,) yn fuan wedi hyny a aeth yn wallgofus; ac yn ei wallgofrwydd gwaeddai allan yn barhaus, Cymerwch ymaith y bendefiges Jane oddi wrthyf, Cymerwch ymaith y bendefiges Jane oddi wrthyf; ac yn y braw hwnw y diweddodd ei fywyd truenus.

James Abyes, wrth fyned i'w ddienyddio er mwyn Crist, fel yr oedd yn myned, rhoddodd ei arian a'i ddillad i un a'r llall, nes y rhoddodd y cwbl ond ei grŷs; ar hyn un o ddynion y Sirydd a'i gwawdiodd ac a'i dirmygodd, gan ddywedyd mai dyn ynfyd ac heretic ydoedd, nad oedd i'w gredu; eithr fel y dienyddiwyd y gŵr da, tarawyd yr adyn yn ynfyd, a thaflodd ymaith ei wisgoedd, gan waeddi allan, fod James Abyes yn ddyn da, ac iddo fyned i'r nefoedd, ond mai dyn drwg oedd efe, ac wedi ei ddamnio; ac fel hyn y parhaodd i waeddi allan hyd ei farwolaeth. Yn ddiau, pwy bynag a wawdio neu a darawo ddyn am rodio yn ol gair yr Arglwydd, gwna yr Arglwydd, ryw awr neu gilydd, archolli cydwybod y dyn hwnw, fel na allo holl feddygon y byd ei hiachau.

Yn awr, os yw dy annhuedd at weddi ddirgel yn

tarddu oddiar yr euogrwydd a dynaist ar dy gydwybod, yna y ffordd oreu yw, yn fuan i adnewyddu dy edifeirwch, ac i ostwng dy enaid, ac felly i weithredu ffydd o'r newydd yn ngwaed Crist am drugaredd faddeuol, ac am ras glanhaol. Pan frather dyn gan euogrwydd, ei ddoethineb uwchaf yw edrych ar y sarff bres, ac nid treulio ei amser, neu greu poenau i'w enaid ei hun, trwy dremio yn barhaus ar ei euogrwydd. Pan y mae euogrwydd ar y gydwybod yn gweithio y dyn i ddyfrhau y ddaear â'i ddagrau, ac yn gwneyd i'r nefoedd seinio â'i riddfanau, yna y mae yn gweithredu yn hardd. Pan y mae ystyriaeth o euogrwydd yn danfon y dyn at Dduw, at ddyledswydd, at orsedd gras, yna ni bydd yn nos hir ar y dyn hwnw. Yr hwn sydd yn meddwl ysgwyd ymaith weddi ddirgel dan rith euogrwydd, nid yw wrth hyny ond yn cynyddu ei euogrwydd ei hun. Ni wna esgeuluso dyledswydd byth gymeryd ymaith euogrwydd o'r gydwybod.

Ond eilwaith, y mae anhwyldeb anewyllysgar at weddi ddirgel; megys mewn dyn afiach, yr hwn a ewyllysiai weithio a cherdded, ond ni all, obleigid ei attal gan ei afiechyd; neu megys y byddai gyda dyn a fyddai a chadwyn fawr am ei goes, efe a fawr ewyllysiai gerdded neu fyned ymaith, eithr y mae ei gadwyn yn ei attal. Yn awr, os yw dy anhwyldeb at weddi ddirgel yn anhwyldeb anewyllysgar, yna gwna Duw, yn ei amser ei hun, ei faddeu a'i symud hefyd.

(2.) Y mae annhuedd hollol ac annhuedd rhanol at weddi ddirgel. Hollol annhuedd yw, pan nad oes gan ddyn un meddwl, un ewyllys, na dim tuedd oll at weddi ddirgel, yr hyn sydd yn profi fod y dyn yn eithaf dryg- ionus. Anhwyldeb rhanol yw, pan y mae gan ddyn ychydig o ewyllys at weddi ddirgel, er nad y cyfryw ewyllys ag a fu ganddo unwaith; a rhyw serchiadau at weddi ddirgel, er nad y cyfryw serchiadau twymgar a llosgedig ag a fu ganddo gynt. Yn awr, os yw dy annhuedd at weddi ddirgel yn hollol, yna rhaid i ti ddys-

gwyl wrth yr Arglwydd yn ei ordinhadau am natur wedi ei chyfnewid, ac am undeb â Christ; eithr os nad yw dy annhuedd at weddi ddirgel ond yn rhanol, yna gwna yr Arglwydd, yn ddiau, ei faddeu, ac mewn ymarferiad o foddion santaidd mewn amser a'i symud ymaith.

Eithr, (3,) ac yn olaf. Y mae annhuedd byr ac achlysurol at weddi ddirgel, ac y mae annhuedd arferol, oestadol, a pharhaus at weddi ddirgel. Yn awr, annhuedd byr ac achlysurol at yr hyn sy dda, a ellir ei gael yn y goreu o'r saint, fel y gellwch weled yn Moses, Exod. iv. 10—14; yn Jeremia, Jer. i. 5—19; yn Jona, pen. i; a Dafydd, Salm xxxix. 2, 3. Yn awr, os hwn yw yr annhuedd sydd yn nglyn â thi, yna gelli fod yn sicr y gwna weithio ymaith yn raddol, megys y gwnaeth yr eiddynt hwy a goffeais ddiweddaf. Ond o'r tu arall, y mae annhuedd ymarferol, oestadol, neu barhaus at weddi ddirgel, ac at yr oll o ddyledswyddau crefydd; yn awr, os hwn yw yr annhuedd sydd yn nglyn â thi, yna gallaf gasglu yn ddibryder, dy fod mewn bustl chwerwedd a rhwymedigaeth anwiredd; ac y mae dy waith yn sefyll, nid mewn achwyn ar dy annhuedd, ond mewn edifarhau a chredu, ac mewn llafurio am gyfnewidiad i'th galon a'th sefyllfa; oblegid hyd nes y cyfnewidier dy galon a'th sefyllfa, ti a barhei am byth mewn anhwyldeb at ystafell weddi, ac at yr oll o ddyledswyddau crefydd a duwioldeb. Gweled pechadur yn hwylio tua dinystr, a'r gwynt a'r môr o'i ochr, yn cyfnewid ei hynt ac yn plyg-hwylio am y nefoedd; gweled dyn daearol yn dyfod yn ddyn nefol, y cnawdol yn dyfod yn ysbrydol, y balch yn dyfod yn ostyngedig, y dyn anystyriol yn dyfod yn ystyriol, canfod pechadur yn ysgogi yn groes iddo ei hun yn ffyrdd Crist a santeiddrwydd, fyddai mor ddyeithr a gweled y ddaear yn ehedeg tuag i fyny, neu belen yn rhedeg yn groes i'w gogwydd ei hun; ac eto, dichon dwyfol allu Duw ar yr enaid ei effeithio, ac y mae yn rhaid i hyn gael ei effeithio cyn y byddo i'r pechadur gael ei raslawn dueddu a'i ystyriol ogwyddo at weddi

ystafellol. A bydded hyn yn ddigon mewn ffordd o atebiad i'r wrthddadl hon hefyd.

Yn awr, er ymdrin yn well â'r ddyledswydd fawr hon, sef, ystafell weddi, dymunaf arnoch gymeryd fy addysg a'm cynghor yn y nodiadau a ganlyn:

I. Byddwch yn aml mewn ystafell weddi, ac nid yn awr ac eilwaith yn unig. Ni wna hwnw byth elwa dim nad yw yn aml mewn ystafell weddi. Yn awr, tuag at i'r cynghor hwn lynu, ystyriwch,

1. Fod gweision rhagorol yr Arglwydd wedi bod yn aml gyda'r gwaith gwynfydedig hwn: Neh. i. 6, "Bydded, atolwg, dy glust yn clywed, a'th lygaid yn agored, i wrandaw ar weddi dy was, yr hon yr ydwyf fi yn ei gweddïo ger dy fron di yr awr hon ddydd a nos." Felly Daniel; tair gwaith yn y dydd y gostyngai efe ar ei liniau, ac y gweddïai, ac y cyffesai o flaen ei Dduw, megys y gwnai efe cyn hyny. Felly Dafydd: Salm v. 3, "Yn fore, Arglwydd, y clywi fy llef; yn fore y cyfeiriaf fy ngweddi atat, ac yr edrychaf i fyny." Felly Salm lxxxviii. 13, "Ond myfi a lefais arnat, Arglwydd; yn fore yr achub fy ngweddi dy flaen." Felly Salm cxix. 147, "Achubais flaen y cyfddydd, a gwaeddais ar yr Arglwydd." Felly Salm lv. 17, "Hwyr a bore, a hanner dydd, y gweddiaf, a byddaf daer." Ie, *vir orationis*, gŵr y dymuniadau oedd, oblegid ei fynychder ynddi. Salm cix. iv, "Am fy ngharedigrwydd y'm gwrthwynebant: minau a arferaf weddi." Neu fel y gellir ei ddarllen yn Hebraeg, Minau, gŵr y weddi ydwyf.

Dywedid am Carolus Magnus, (*Carolus plus cum Deo quam hominibus loquiur*,) ei fod yn siarad mwy â Duw nag â dynion.

2. Ystyriwch fod yr Ysgrythyr, nid yn unig yn gorchymyn y ddyledswydd hon, eithr yn gofyn amldra ynddi hefyd. Luc xviii. 1; 1 Thes. v. 17; Col. iv. 2. Gan i mi ymdrin â'r ysgrythyrau hyn yn y rhan flaenaf o'r traethawd hwn, bydd eu coffau yn ddigon yn bresenol.

3. Yr oedd Crist yn aml mewn gweddi ddirgel, fel y

gellwch weled wrth gymharu yr ysgrythyrau hyn,—Marc i. 35; Mat. xiv. 23; Luc xxii. 39; Ioan xviii. 2. Yn fy ail reswm dros weddi ddirgel, gellwch weled yr ysgrythyrau hyn wedi eu hagoryd, ac ymhelaethu arnynt. Ond,

4. Ystyriwch fod genych siamplau y gwaethaf o ddynion ar y mater hwn. Y mae y Papistiaid yn aml yn eu defosiynau dirgel; y Mahometaniaid, pa achlysur bynag fyddo ganddynt, pa un ai elw neu bleser i'w tynu ymaith, eto a weddïant bum gwaith bob dydd. Ie, y Paganiaid eu hunain a aberthent i Hercules fore a hwyr ar allor fawr Rhufain. Yn awr, a gaiff natur dywell wneyd mwy na gras. Ond,

5. Ystyriwch na ellwch gael cymundeb rhy aml â Duw, na chymdeithas rhy aml â'r Iesu; na ellwch gael eich calon yn rhy aml wedi ei llanw â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus; ac â heddwch, yr hwn sydd uwchlaw pob deall; na ellwch gael y nefoedd yn rhy aml i waered i'ch calonau, neu ddwyn eich calonau yn rhy aml i fyny i'r nefoedd; ac am hyny, nis gellwch fod yn rhy aml yn eich ystafell weddi. Ond,

6. Ystyriwch eich bod dan aml anghenion, aml bechodau, aml faglau, aml demtasiynau, aml ddeniadau, aml brofedigaethau, aml ofalon, aml ofnau, ac aml gymwynasau; ac am hyny y mae yn ofynol i chwi fod yn aml gyda Duw yn eich hystafelloedd. Ond,

7. Ystyriwch, chwi ydych rai anwyl y nefoedd, yr ydych chwi yn anwyl ac yn anrhydeddus iawn; yr ydych chwi yn barchus ac yn werthfawr dros ben yn llŷs y Goruchaf; a chofiwch fod erfyniadau lluaws o Gristionogion gweiniaid a thywyll, o Gristionogion profedigaethus a phetrusol, a lluaws o Gristionogion amheus, dyryslyd, a methedig, yn cael eu dodi yn eich dwylaw, er buan a rhwydd gyflwyniad o honynt wrth orsedd gras; fel hyn y mae angen arnoch fod yn aml wrth orsedd gras, a mwyhau eich llwyddiant yn y nefoedd, neu onidê, gwnewch gam, bradychwch, a niweidiwch lawer o'r rhai

tlodion hyn drwy eich esgeulusiad. Y cyfryw ag sydd mewn cymeriad yn llysoedd tywysogion, os byddant yn weithredgar, diwyd, gofalus, a gwyliadwrus, a allant wneyd llawer o dda dros ereill; gallant fyned mor aml ag yr ewyllysiont i bresenoldeb y tywysog, a chyda'r frenines Esther gael (wrth ofyn) yr hyn a fynont iddynt eu hunain ac ereill. Esther vii. O! y byd o ddaioni a ddichon rhai cymeradwy Duw wneyd dros ereill, pe baent ond bod yn aml gyda Duw yn eu hystafelloedd.

O Feistriaid! os nad oes genych y cariad hwnw, y parch hwnw, y tosturi hwnw, a'r cydymdeimlad hwnw at eich eneidiau eich hunain ag a ddylai fod, na adewch i ereill ddyoddef trwy eich esgeulusiad o weddi ddirgel. O! na adewch i Seion, nac i un sant neillduol, ddyoddef trwy eich cael chwi yn anaml yn eich hystafelloedd.

Diamau y byddai yn well ar eglwysi Crist, gydag achos Crist, a chyda llawer o'i bobl dylodion, pe bae Cristionogion ond bod yn amlach gyda Duw yn eu hystafelloedd. Ond,

8, ac yn olaf. Ystyriwch fod y rhyddid hwnw o nesau at Dduw yn eich hystafelloedd, wedi costio i Grist ei waed gwerthfawrocaf. Eph. ii. 12; Heb. x. 20.

Yn awr, y mae yr hwn nad yw yn aml gyda Duw yn ei ystafell, yn dywedyd wrth bawb o'i amgylch nad yw yn gosod gwerth mawr ar y rhyddid hwnw a bwrcasodd Crist â'i waed. Y mae y gwerth annghydmarol ac annghyffelyb a dalodd Crist ar y groes, (uwchlaw un-cant-ar bymtheg o flynyddau yn ol,) fel y gallem ni gael rhyddid a dyfodfa croesawus at ei Dad yn ein hystafelloedd, yn dadlu yn gyfiawn, ïe, yn anwrthwynebol, ragoroldeb tra rhyfeddol y rhyddid hwnw. O! gan hyny, gwerthfawrogwn i bwrpas y pwrcasiad bendigedig hwn o eiddo ein Harglwydd Iesu. Y mae yn ddadl gan rai, pa un a oedd un dafn o waed Crist yn ddigon er maddeuant ein pechodau a gwaredigaeth ein heneidiau. Nid fy nyben i yw dadlu, ond i osod i lawr ychydig o bethau at eich hystyriaeth.

(1.) Y mae yn rhaid addef, mai trwy rinwedd yr undeb personol, fod dafn o waed Crist â rhagoriaeth a gwerth anmhrisiadwy ynddo; ac y mae y dyoddefaint i'w fesur wrth urddasrwydd ei berson. Ond,

(2.) Y mae cyfartalwch i'w nodi rhwng y gosp ddyledus i ddynion, a'r hyn a ddyoddefwyd dros ddyn! fel y byddai ei ddyoddefaint yn foddhaol, yr oedd dau beth yn angenrheidiol, *Poenæ gravitus*, (*pwys y dyoddefiadau*,) yn gystal a *Persone dignatas*, (*urddasrwydd y person*.) Nad oedd y dafn lleiaf o waed Crist yn ddigonol er prynu ein heneidiau, a ymddengys fel hyn,—

[1.] Os oedd, yna yr oedd enwaediad Crist yn ddigon, oblegid yr oedd yno ddafn, os nid llawer o ddafnau wedi eu tywallt.

[2.] Yna yr oedd ei goroni â drain yn ddigon, oblegid y mae yn lled debygol iddynt dynu gwaed oddi wrtho.

[3.] Yna yr oedd holl ddyoddefiadau ereill Crist yn afreidiol ac ofer.

[4.] Yna yr oedd Duw yn annghywir ac annghyfiawn i gymeryd mwy nag oedd ddyledus i'w gyfiawnder; ond i neb haeru fod Duw wedi cymeryd mwy oedd yn gyfiawn ddyledus, sydd gabledd o'r mwyaf.

[5.] Yna yr oedd Crist yn wan ac yn annoeth i dalu mwy nag oedd angen iddo; canys pa raid oedd wrth waed gwerthfawrocaf ei galon, os gwnai dafn o'i law achub ein heneidiau? Dychymyged ysgolheigion yr hyn a fynont, diamau nas gallasai un dyferyn o'r cwpan a yfodd Crist, gael ei hebgor mewn trefn i gyflawn foddloni ei Dad, a chael iachawdwriaeth dragwyddol i ddyn. Rhoddodd Crist o dan ei law ei hun, fod yn rhaid iddo ddyoddef llawer o bethau. Marc viii. 3; Luc xxiv. 26. O gyfeillion! a gaiff Crist dywallt nid yn unig ychydig ddafnau o waed, eithr hyd yn nod gwaed ei galon, i bwrcasu i chwi ryddid a chenad i fod mor aml yn eich hystafelloedd gyda'i Dad ag yr ewyllysioch, ac a wnewch

chwithau ond yn unig yn awr ac yn y man roddi ymweliad i Dduw yn y dirgel? Na atto yr Arglwydd!

II. Fy ail gyngor ac annogaeth yw hyn, Cymer y tymorau a'r cyfleusderau addasaf a elli eu cael at ystafell weddi. Y mae llawer yn cymeryd tymorau annghymhwys at weddi ddirgel, pa rai sydd yn attal mwy ar daerineb yr enaid mewn gweddi na holl sibrwd a dychymygion Satan; megys,

1. Pan y byddo y corff yn farwaidd a chysglyd; y mae hwn yn amser anaddas iawn at ystafell weddi. Gochelwch osod clustogau o syrthni dan eich gliniau, neu obenyddion o ddiogi dan eich penelinoedd, neu gymysgu hepian â'ch herfyniadau, neu ymgyflwyno yn syrthlyd pan yn agosau at Dduw yn eich hystafelloedd.

2. Pan y mae pen a chalon dyn wedi eu llanw â therfysg a gofalon bydol; y mae hwn yn amser anaddas iawn at ystafell weddi.

Pan yr oedd yn rhaid i Dinah rodiana ar led am ddulliau, Shechem, tywysog y wlad hòno, a gyfarfu â hi, ac a'i treisiodd hi. Felly pan y mae ein calonau Dinahdebyg ninau yn crwydro ac yn gwibio ar ol pethau y byd, yna y mae Satan, tywysog yr awyr, yn gyffredin yn ein dal, ac yn treisio ein heneidiau, ac un ai yn ein tynu ymaith oddi wrth weddi, neu ynte y mae yn ein syfrdanu gymaint mewn gweddi fel mai gwell fuasai i ni fod heb weddïo oll nag offrymu aberth ffolineb a gweddi syfrdanllyd.

Mi a ddarllenais chwedl, pa fodd y cynygiodd un roddi ceffyl i'w gyfaill, ar yr ammod o iddo ddywedyd gweddi yr Arglwydd heb feddwl am ddim ond Duw. Y cynygiad a gymeradwywyd, ac efe a ddechreuodd, "Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, santeiddier dy enw; ond y mae yn rhaid i mi gael y ffrwyn hefyd," (eb efe). "Na, na'r ceffyll chwaith," ebe y llall, "oblegid collaist y ddau yn barod." Y mae y cymhwysiad yn hawdd.

Y bore, yn ddiau, yw yr amser mwyaf rhydd a bywiog at ystafell weddi, cyn y byddo i ysbryd y dyn gael

ei bylu, ei oeri, neu ei fwydo gan orchwylion bydol. Dylai dyn ymddyddan â Duw yn ei ystafell cyn ymddyddan â'i negeseuau bydol. Dylai dyn ddywedyd wrth ei holl negeseuau bydol, megys y dywedodd Abraham wrth ei wŷr ieuainc pan yr aeth i aberthu ei fab Isaac, "Aroswch chwi yma, a mi a'r llanc a awn hyd acw, ac a addolwn, ac a ddychwelwn atoch." Yr hwn a ganlyn weddi ystafellol heb syfrdandod neu gythrwfl, rhaid iddo beidio neidio allan o'r byd i'w ystafell; ond rhaid iddo yn gyntaf neidio i'w gell, cyn y byddo iddo gael ei gylchynu â llu o orchwylion bydol.

Yr oedd yn ddeddf o eiddo Pythagoras, mai pan yr elom i mewn i'r deml i addoli Duw, fod yn rhaid i ni beidio cymaint a siarad na meddwl am orchwyl bydol, rhag i ni wneyd gwasanaeth Duw yn ddadebriad ofer. Gallaf finau ddywedyd yr un peth am ystafell weddi.

Yr oedd Jerome yn achwyn yn fawr iawn ar ei syfrdandod, ei hurtrwydd, a'i anhwylusdod at weddi, ac yn ceryddu ei hun fel hyn, "Beth, ai tybied yr wyt mai fel hyn y gweddïodd Jona yn mol y morfil, neu Daniel yn mhlith y llewod, neu y lleidr pan ar y groes."

3. Pan y mae gwŷr neu wragedd mewn tymherau drwg a nwydwyllt; oblegid pan y mae nwydau i fyny, y mae serchiadau santaidd i lawr; y mae hwn yn amser anaddas iawn at weddi ddirgel; oblegid ni chyraedda y cyfryw weddïau byth mo glustiau Duw, y rhai nad ydynt yn gwresogi ein calonau ni ein hunain yn gyntaf. Os gwnai y Gweinidog, yn eglwysi Muscovy, gamsynied wrth ddarllen, neu fyngial (*stammer*) wrth acenu ei eiriau, neu lefaru gair na chlywid yn eglur, gwnai y gwrandawyr ei feio yn fawr, a phrin na chymerent y llyfr o'i law, fel un annheilwng o ddarllen ynddo. Ac yn ddiau, nid yw Duw yn cael ei anfoddloni yn llai â gweddïau penchwiban, byrbwyll, ac anystyriol y rhai hyny ag ydynt, heb ystyriaeth bwyllog, yn anfon eu herfyniadau tua'r nef o nerth traed a cheffyl. Y mae cyngor Solomon yn deilwng o bob cymeradwyaeth a

derbyniad,—"Na fydd ry brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu dim ger bron Duw." Neu, fel y gellir ei ddarllen yn ol yr Hebraeg, "Na fydded i'th galon gan frys gael ei therfysgu a'i haflonyddu, fel ag i lamdraethu, a thaflu allan eiriau heb na doethineb na rhagfyfyrdod." Y mae dynion da yn barod yn aml i fod yn rhy frysiog, byrbwyll, a digyngor yn eu gweddïau, achwyniadau, a'u herfyniadau: tyst Dafydd, Job, Jeremia, a'r dysgyblion. Nid oes un Cristion tebyg i'r hwn ag sydd yn doeth ac yn ystyriol bwyso drosodd ei weddïau a'i fawl cyn y byddo iddo dywallt allan ei enaid ger bron yr Arglwydd. Nid yw hwnw byth yn edifarhau am ei erfyniadau ag sydd yn doeth ystyried beth i'w erfyn; ond yr hwn sydd yn tywallt allan beth bynag sydd yn gorwedd uchaf, ac yn dwyn allan ger bron Duw ei erfyniadau anmhrofedig a didrefn, nid yw ond yn cyffroi Duw, yn lle gweddïo arno ac ymdrechu âg ef. Y mae erfynwyr mewn llys yn nodi allan eu tymhorau a'u hamserau addasaf i erfyn; y maent yn gyffredin yn cymeryd y tymhor ag y cânt y brenin mewn tymher dda, ac felly anfynych, os byth, y deuant allan heb lwyddiant daionus.

Weithiau y mae Duw yn nerthol dueddu y galon at ystafell weddi; weithiau y mae yn dwyn y galon i agwedd gweddi; weithiau y mae y corff a'r enaid wedi eu hadfywio, eu bywhau, eu dyrchafu, a'u dwyfol wresogi yn fwy nag ar amserau ereill; weithiau y mae y gydwybod yn fwy deffrous, gweithgar, a thyner. O! yn awr taraw, tra mae yr haiarn yn boeth; yn awr ymafael yn yr holl gyfleusderau hyny, trwy ymosod at weddi ddirgel. O gyfeillion! a ellwch chwi gymeryd yr amserau, y tymhorau, a'r cyfleusderau addasaf at aredig, hau, medi, prynu, gwerthu, bwyta, yfed, a phriodi, ac oni ellwch chwi hefyd gymeryd yr amserau a'r tymhorau addasaf i geisio yr Arglwydd yn eich hystafelloedd? A raid i Dduw gael ei droi heibio gyda'r lleiaf a'r gwaethaf o'ch amser? Na

atto yr Arglwydd. Nac esgeuluswch dymhorau gras, na oddefwch i'ch cyfleusderau at weddi ddirgel lithro heibio; collodd miloedd eu tymhorau a'u heneidiau hefyd.

III. Gofelwch rhag cyflawni eich dyledswyddau ystafellol yn unig i dawelu eich cydwybodau: rhaid i chwi eu cyflawni o gydwybod, ond rhaid i chwi beidio eu cyflawni yn unig i lonyddu cydwybod. Y mae gan rai y fath oleuni yn eu dealltwriaethau fel na allant esgeuluso ystafell weddi; eithr cydwybod sydd yn dannod iddynt ac yn eu haflonyddu, ac am hyny y mae ofn arnynt i esgeuluso ystafell weddi, rhag i gydwybod eu holi, eu cyhuddo, a'u condemnio am eu hesgeulusdod. Weithiau pan y mae dynion yn erchyll bechu yn erbyn yr Arglwydd, y mae y gydwybod yn myned yn annyoddefgar, ac yn eu cyhuddo, eu condemnio, a'u brawychu yn barhaus; yn awr yn y poenau hyn, brysiant i'w hystafelloedd, a llefant, gweddïant, galarant, cyfaddefant, a chwerw gwynfanant am eu troseddiadau, eithr hyn oll sydd yn unig i lonyddu eu cydwybodau; ac weithiau y cânt, wedi y cyflawnont eu dyledswyddau ystafellol, fod eu cydwybodau yn cael eu llonyddu a'u tawelu ychydig; ac i'r dyben a'r amcan hwn yn unig y cymerant i fyny ystafell weddi, megys swyn-gyfaredd i dawelu eu cydwybodau, a phan êl yr ystorm heibio, ac y caffo eu cydwybodau lonyddwch, yna rhoddant heibio ystafell weddi, (megys y gwnaeth y Mynach â'r rhwyd ar ol dal y pysgodyn,) ac y maent yn barod i droseddu eilwaith. Gyfeillion! cymerwch ofal rhag hyn, oblegid nid yw hyn ond rhagrith goleu, ac a fydd yn chwerwder yn y diwedd.

Yr hwn sydd yn cyflawni ystafell weddi yn unig er gwobrwyo ei gydwybod, fel na byddo yn derfysglyd, neu er cau safn cydwybod, fel na byddo iddi ei gyhuddo am bechod, a wna yn mhen ychydig anturio ar y fath fasnach, y fath hynt o bechu ag a dry yn sicr ei gydwybod derfysglyd i un wedi ei serio. Y mae cydwybod wedi ei serio yn debyg i lew cysglyd, pan ddeffrô efe a rua ac a ddryllia ei ysglyfaeth yn ddarnau; felly y gwna cyd-

wybod wedi ei serio, pan ddeffrô, a rua ac a ddryllia y pechadur yn ddarnau.

Pan ddeffröodd cydwybod Dionysius, yr oedd mor gythryblus gan ofn a braw cydwybod, fel na feiddiai ymddiried i'w gyfeillion goreu i ddefnyddio ellyn, ond arferai (fel y rhydd Cicero hanes) ddeifio ei farf â rhysod llosgedig. Yr holl drugaredd a rydd cydwybod wedi ei serio i'r pechadur, pan wnel y gymwynas fwyaf âg ef, pan yr ymddyga yn fwyaf tirion tuag ato, yw hyn, na wna archolli, fel y gallo ei ladd ef; nid argyhoedda, fel y gallo gythruddo; ni chyhudda, fel y gallo euog-farnu; hi a arbed y pechadur am ychydig, fel y gallo ei boenydio am byth; hi a'i harbed ef yma, fel y gallo ei gnoi ef ar ol hyn; ni thery nes y byddo wedi myned yn rhy ddiweddar i'r pechadur droi yr ergyd ymaith. O drugaredd greulon! nodi y pechod a gadael y pechadur yn llonydd nes y byddo pyrth uffern yn agored i'w ddifa ef. Gen. iv. 7, "Pechod a orwedd wrth y drws." Y mae y gair Hebreig *robets* yn arwyddo gorwedd i lawr, neu lechu, fel y gwna rhyw fwystfil wrth enau ei ffau, megys pe bae yn cysgu, ond mewn gwirionedd yn effro, ac yn gwilio, ac yn barod i neidio at yr oll a ddel yn agos ato. O feistriaid! y mae pechod yn hytrach yn llechu nag yn cysgu; y mae yn cysgu cwsg ci, fel y gallo gael mantais ar y pechadur, ac ehedeg yn fwy cynddeiriog yn ei wyneb. Ond,

IV. Gochelwch rhag ymorphwys ar ddyledswyddau ystafellol; gochelwch rhag ymddiried ynddynt. Gwnaeth colomen Noah ddefnydd o'i hadenydd, ond nid oedd hi yn ymddiried yn ei hadenydd, ond yn yr arch. Felly y mae yn rhaid i chwi wneyd defnydd o ddyledswyddau ystafellol, ond rhaid i chwi beidio ymddiried ynddynt, ond yn Iesu, o'r hwn nid oedd yr arch ond cysgod. Y mae llawer a ânt dros gylch o ddyledswyddau, (megys yr â ceffylau melin o amgylch eu cylch yn y felin,) ac a ymorphwysant arnynt wedi dybenu, gwneyd defnydd

o'r moddion fel cyfryngwyr, ac felly syrthio yn fyr o Grist a'r nefoedd ar unwaith. Gorphwys ar ddyledswyddau ystafellol a ddinystria ddyn, fel y beiau echryslonaf, am dragwyddoldeb; y mae drygioni cyhoeddus yn dyfetha ei filoedd, ond y mae ymorphwysiad dirgelaidd ar ddyledswyddau yn dyfetha ei fyrddiynau. Y mae lluoedd yn gwaedu yn dufewnol o'r afiechyd hwn, ac yn marw yn dragwyddol. Halogedigaeth gyhoeddus sydd ffordd lydan yn arwain i uffern, ond ymorphwysiad ar ddyledswyddau ystafellol sydd ffordd sicr, er yn lanach ffordd, i uffern. Dynion halogedig a phroffeswyr ffurfiol a gydgyfarfyddant yn y diwedd yn nystryw. Ah! Gristionogion, na wnewch ddyledswyddau ystafellol eich arian, rhag i chwi a'ch arian drengu yn nghyd.

Y mae y Phœnix yn casglu yn nghyd brenau melus arogl-ber yn Arabia, ac yna yn eu chwythu â'i hadenydd, ac yn llosgi ei hun â hwynt: felly y mae llawer o broffeswyr dysglaer yn llosgi eu hunain wrth orphwys yn eu dyledswyddau a'u cyflawniadau. Yn niluw Noah, gwyddoch ddarfod i bawb nad oedd yn yr arch, foddi yn wirioneddol, er iddynt ddringo i fyny y coedydd talaf, y bryniau a'r mynyddoedd uchaf: felly dringed dynion i fyny i'r ddyledswydd hon neu arall, eto os nad ânt i Grist, eu diwedd fydd dinystr. Nid dy ystafell, ond dy Grist, sydd raid dy achub di. Os na fydd gan ddyn hawl yn Nghrist, gall drengu gydag "Ein Tad" yn ei enau. Y mae mor naturiol i ddyn orphwys yn ei ddyledswyddau ag yw iddo orphwys yn ei wely.

Hyn oedd profedigaeth Bernard, yr hwn, pan ei cynorthwyid ychydig mewn dyledswydd, a allasai ryglo ei ben â *bene fecisti Bernarde,*—O Bernard, gwnaed hyn yn rhagorol, yn awr ymwrola. Ah! mor barod yw dyn, pan yr eanger, y todder, ac y cynorthwyer ychydig arno mewn dyledswydd, i ymdwymno ei hun wrth wreichion o'i gyneuad ei hun.

Yr oedd Adda i ennill bywyd a'i wisgo, yr oedd ef i gael ei achub drwy weithredoedd, Gwna hyn a bydd fyw.

Oddi yma y mae fod ei holl hil mor chwannog i geisio iachawdwriaeth drwy wneyd:—"Pa beth a wnawn fel y byddom gadwedig?" ac, "Athraw da, pa beth a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragwyddol?" Cyffelyb dad, cyffelyb fab. Ond os yw ein dyledswyddau neu ein cyflawniadau yn ddigonol i'n hachub, i ba ddyben y gadawodd Crist fynwes ei Dad, ac y rhoddodd i lawr ei fywyd gwerthfawrocaf? &c. Dichon dyledswyddau ystafellol, wrth ymorphwys ynddynt, dawelu y gydwybod am dymor; ond ni phery hyn yn hir: Hos. v. 13, "Pan welodd Ephraim ei lesgedd, a Juda ei archoll, yna yr aeth Ephraim at yr Assyriaid, ac a hebryngodd at frenin Jareb; eto ni allai efe eich meddyginiaethu, na'ch iachau o'ch archoll." Os ymorphwyswn ar ddyledswyddau ystafellol, neu unrhyw beth arall tu yma i Grist, cawn hwynt mor eiddil a'r Assyriaid, neu megys Jareb; cawn weled er ein gofid, na allant na'n cynorthwyo na'n meddyginiaethu, nas gallant ein cysuro na'n gwellhau o'n harchollion. Fel creaduriaid, felly dyledswyddau, ni buont erioed yn ffyddlon i neb a ymddiriedodd ynddynt. Pan oedd yr Israeliaid mewn cyfyngder caled, y mae yr Arglwydd yn gorchymyn iddynt fyned a galw ar y duwiau a ddewisasant: "A waredant hwy chwi," medd Duw, "yn amser eich trallod?" O feistriaid! pe dywedai Duw wrthych pan dan boen cydwybod, neu pan yn gorwedd ar wely angeu, Ewch at eich gweddïau a'ch cyflawniadau ystafellol, a wnaethoch ac a ymorphwysasoch ynddynt, ac achubent a gwaredent hwy chwi; O y fath waredwyr a chysurwyr gofidus a fyddent hwy i chwi! Gwelwch, yr hyn ydoedd arch Duw i'r Philistiaid, hyny yw dyledswyddau ystafellol i Satan; y mae efe yn brawychu bob tro y cenfydd bechadur tlawd yn myned ac yn dyfod allan o'i ystafell, gan ymorphwys ac ymogoneddu yn Iesu, ac nid yn ei ddyledswyddau; ond pan genfydd y creadur tlawd yn ymorphwys yn ei ystafell ddyledswyddau, yna y mae yn gorfoleddu, y mae yn curo ei ddwylaw, ac yn canu *aha*, felly y dymunwn ei bod. O! nac ym-

orphwyswch ar ddim tu yma i Iesu Grist; dywedwch wrth eich grasusau, eich dyledswyddau, a'ch santeiddrwydd, Nid chwi yw fy Iachawdwr, nid chwi yw fy Nghyfryngwr, ac am hyny nid ydych chwi i ymddiried ynoch, nac i ymorphwys arnoch. Fy nyledswydd yw cyflawni ystafell ddyledswyddau, ond fy mhechod yw ymorphwys arnynt neu ymddiried ynddynt; eu cyflawni sydd raid i mi, ond ymogoneddu ynddynt sydd raid i mi beidio. Yr hwn sydd yn ymorphwys yn ei ystafell ddyledswyddau, sydd yn gwneyd Iachawdwr o honynt. Bydd i'ch holl ddyledswyddau ystafellol eich arwain at Iesu, a'ch gadael mewn mwy o gymundeb âg ef ac o ymorwedd arno, a byddwch yn driphlyg ddedwydd. Bydded i'th ystafell weddïau, dy ddagrau, a'th doddiadau, fod yn seren i'th dywys at Iesu; yn ysgol Jacob ar hyd yr hon y gelli esgyn i fynwes y tragwyddol gariad, ac yna ti fyddi yn ddiogel am byth.

O! y mae yn erchyll meddwl pa fodd y mae y rhan fwyaf o ddynion wedi annghofio eu gorweddfa, fel yr achwyna yr Arglwydd: Jer. l. 6, "Fy mhobl a fu fel praidd colledig; eu bugeiliaid a'u gyrasant hwy ar gyfeiliorn, ar y mynyddoedd y troisant hwynt ymaith: aethant o fynydd i fryn, annghofiasant eu gorweddfa." O! pa sawl enaid tlawd sydd yn crwydro o fynydd i fryn, o un ddyledswydd i'r llall, gorphwysant yma a thraw, a'r oll tu yma i'w gorweddfa. O Syrs, Duw ei hun yw eich gorphwysfa, ei rad ras, ei drugaredd neillduol, a'i gariad, hyny yw eich gorphwysfa. Mynwes Crist, ffafr ac iawn Crist, a chyfiawnder pur, perffaith, difrycheulyd, annghymharol, a gogoneddus Crist, hyny ydyw eich gorphwysfa; ac am hyny dywedwch wrth eich holl ystafell ddyledswyddau, Dydd da i chwi; dydd da i ti weddi, darllen, ympryd, dagrau, ocheneidiau, griddfanau, toddiadau, a gostyngeiddrwydd, nid ymddiriedaf byth ragor i chwi; ond yn awr mi a ddychwelaf i'm gorphwysfa; mi a ymorphwysaf bellach dros byth ar Dduw yn Nghrist.

Yr oedd yn ddywediad o eiddo sant rhagorol, ei fod yn ofni ei ddyledswyddau yn fwy na'i bechodau, oblegid yr oedd y naill yn ei wneyd yn falch, a'r llall yn ei wneyd bob amser yn ostyngedig.

V. Llafuriwch i ddwyn eich calonau i'ch holl weddïau a'ch cyflawniadau ystafellol. Edrychwch ar fod eich tafodau a'ch calonau yn cadw yr amser a'r dôn: Salm xvii. 1, "Gwrandaw fy ngweddi o wefusau didwyll." Neu fel y mae yn yr Hebraeg, "Heb wefusau twyll." Y mae yn rhaid i'r galon a'r tafod gyd-drafaelu; rhaid i air a gweithred, gwefus a bywyd, gweddi ac ymarferiad, adseinio naill y llall, neu ynte cyd-gollir dy weddïau a'th enaid yn nghyd; rhaid i lafur y gwefusau a gwewyr yr enaid fyned yn nghyd.

Yr oedd yr Aifftiaid, o'r holl ffrwythau, yn gwneyd dewisiad o'r peatys (*peach*) i gysegru i'w duwies, ac heb un achos arall ond fod ei ffrwyth yn debyg i galon un, a bod ei ddeilen yn debyg i dafod un. Yr oedd hyd yn nod y Cenedloedd, yn addoliad eu duwiau, yn meddwl fod yn angenrheidiol i galonau a thafodau dynion fyned yn nghyd. O Gristionogion! pan y mae eich calonau a'ch tafodau yn cydfyned yn eich dyledswyddau ystafellol, yna yr ydych yn gwneyd y beroriaeth felus a hyfryd hyny ag sydd yn fwyaf boddhaol gan Frenin y breninoedd. Y mae gwir enaid gweddi yn gorphwys mewn tywallt allan yr enaid ger bron Duw: Salm xlii. 4, "Tywalltwn fy enaid ynof, pan gofiwn hyny." Felly y tywalltodd yr Israeliaid eu heneidiau allan fel dwfr ger bron yr Arglwydd. Felly yr eglwys, "Dymuniad ein henaid sydd at dy enw, ac at dy goffadwriaeth. A'm henaid y'th ddymunais liw nos; â'm hysbryd hefyd o'm mewn y'th fore geisiaf," Esay xxvi. 8, 9. Felly Galar. iii. 41, "Dyrchafwn ein calonau a'n dwylaw at Dduw yn y nefoedd." Felly Heb. x. 22, "Nesawn â chalon gywir," &c. Felly Rhuf. i. 9, "Canys tyst i mi yw Duw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu yn yr Ysbryd." 1 Cor. xiv. 15, "Mi a weddïaf â'r Ysbryd, a chanaf â'r Ys-

bryd." Phil. iii. 3, "Canys yr enwaediad ydym ni, y rhai ydym yn gwasanaethu Duw yn yr Ysbryd." Dan y gyfraith, y rhanau tumewnol yn unig oedd i gael eu hoffrymu i Dduw yn aberth; i'r offeiriaid y perthynai y croen; lle y gallwn gasglu yn hawdd mai gwirionedd oddi mewn yw yr hyn sydd fwyaf boddhaol mewn aberth. Pan yr ewyllysiodd yr Atheniaid gael gwybod gan yr ateb-dduw (*oracle*) yr achos o'u haflwyddiant wrth ymladd â'r Lacedemoniaid, wrth weled eu bod yn offrymu y pethau goreu a allent gael yn aberth i'w duwiau, yr hyn nad oedd eu gelynion yn ei wneyd, yr ateb-dduw a roddodd iddynt yr atebiad hwn, "Fod y duwiau yn cael eu boddhau yn well â thumewnol ddeisyfiadau, heb uchelgais, nag â'u holl rodres allanol hwy mewn aberthau prisfawr." Och! feistriaid, y rheswm paham y mae cynifer mor aflwyddiannus yn eu dyledswyddau a'u gwasanaeth ystafellol yw, o herwydd nad oes rhagor yn eu calonau o honynt. Ni ddichon neb wneyd gwaith sicr a dedwydd mewn gweddi, ond yr hwn sydd yn gwneyd calon-waith o honi. Pan y mae calon dyn yn ei weddïau, yna mawr a hyfryd fydd ei ddychweliadau o'r nefoedd; nid yw hòno ddim yn weddi, yn yr hon nad yw calon dyn yn un rhan o honi. Pan yr ysgarer yr enaid oddi wrth y corff, y mae y corff yn farw; a'r un modd pan yr ysgarer y galon oddiwrth y wefus mewn gweddi, y mae y weddi yn farw.

Y mae yr Iuddewon hyd y dydd heddyw yn ysgrifenu ar furiau eu synagogau y geiriau hyn, *tephilloh belo cavannah ceguph belo neshama;* hyny yw, gweddi heb y galon, neu heb feddylfryd y serch, sydd debyg i gorff heb enaid.

Dan gyfraith Moses, yr oedd yn orchymynedig i'r offeiriaid olchi rhanau tumewnol a thraed yr aberthau mewn dwfr; a gwnaed hyn, medd Philo, i'n dysgu ni i gadw ein calonau a'n serchiadau yn lân pan yn nesau at Dduw. Yn eich holl ddyledswyddau ystafellol, y mae Duw yn edrych yn mlaenaf ac yn benaf ar eich calonau:

"Fy mab, moes i mi dy galon." Nid rhan, nid congl o'r galon a foddlona ei Gwneuthurwr. Trysor yw y galon, gwely y pêr-lysiau, gorsedd freninol, yn yr hon y mae yn ymhyfrydu. Nid yw Duw yn edrych ar hyawdledd eich gweddïau, nac ar eu hŷd, neu ar bereidd-dra eich llais, ond ar gywirdeb eich gweddïau. Ni chydnabyddir, ni chymeradwyir, ni dderbynir, ni chofnodir, neu ni wobrwyir un weddi gan Dduw ond yr hon y mae y galon yn ddiffuant ac yn gwbl ynddi. Ni fynai y wir fam ranu y plentyn. Megys y mae Duw yn caru calon ddrylliog, gystuddiedig, felly y mae yn ffieiddio calon ranedig. Nid yw Duw yn caru cloffni na hanneru ychwaith; myn ef ei wasanaethu yn wirioneddol ac yn hollol. Y gyfraith freninol yw, "Ti a geri ac a wasanaethi yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid." Yn mhlith y cenedloedd, pan fyddai yr anifeiliaid i gael eu dryllio yn aberth, y peth cyntaf yr edrychai yr offeiriad arni oedd y galon, ac os byddai y galon yn ddiddim, yr oedd yr aberth yn wrthodedig. Yn wir, gwrthyd Duw yr holl wasanaeth a'r aberthau hyny, lle nad yw y galon yn ymroddadwy. Gweddi heb y galon sydd efydd yn seinio neu symbal yn tincian. Gweddi sydd yn hyfryd a phwysig cyn belled ag y byddo y galon ynddi a dim yn mhellach. Nid dyrchafiad llais, na gwasgiad dwylaw, na churo dwyfron, na sain treiddgar, nac ysgogiadau myfyrgar, na dywediadau seraphaidd, ond y galon y mae Duw yn edrych arni mewn gweddi. Nid yw Duw yn gwrandaw dim mwy nag y mae y galon yn ei lefaru; os bydd y galon yn fud, bydd Duw yn ddiau yn fyddar; nid oes un weddi yn dderbyniol gyda Duw, ond yr hon sydd yn dyfod o'r galon.

Yr un diwrnod ag y daeth Julius Cæsar i'w urddas amherodrol, wedi eistedd yn ei gadair auraidd, yr offrymodd anifail fel aberth i'w dduwiau; ond pan agorwyd yr anifail, yr oedd heb un galon, yr hyn yr edrychodd y daroganwyr arno fel arwydd ddrwg. Arwydd ddrwg yw, dy fod yn hytrach yn cyffroi yr Arglwydd nag yn

llwyddo gydag ef, yr hwn wyt yn feunyddiol heb un galon yn dy ystafell ddyledswyddau. Y mae Duw fel pe bae yn dywedyd wrthym am y galon fel y dywedodd Joseph wrth ei frodyr am Benjamin, "Nac edrychwch yn fy wyneb hebddo."

Ymadrodd Bradford ddedwydd oedd, Nad oedd efe byth yn gadael dyledswydd nes dwyn ei galon i ffurf dyledswydd; na adawai gyfaddef pechod nes y byddai ei galon yn ddrylliau am bechod; na wnai adael erfyn am ras nes y byddai i'w galon gael ei bywhau a'i hadfywio mewn dysgwyliad gobeithiol am fwy o ras; na wnai adael heibio ddiolch nes y byddai i'w galon gael ei heangu âg ystyriaethau o'r trugareddau a fwynhaodd, a'i bywhau mewn dychweliad o fawl.

VI. Byddwch gynes, Byddwch wresog, Byddwch daer gyda Duw yn eich dyledswyddau a'ch cyflawniadau ystafellol. Iago v. 17, "Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." Neu fel y mae yn y Roeg, Gweddi yn gweithredu. Hyny yw, y fath weddi yn gweithredu ag a esyd yr holl ddyn ar waith, ac a esyd holl alluoedd yr enaid a holl rasusau yr enaid ar waith. Y mae y weithred yn arwyddo y fath weithrediad ag sydd yn nodi y bywiogrwydd mwyaf a ddichon fod. Y mae yr holl ymadroddion arferol o lefain, ymdrechu â Duw, y rhai sydd yn wasgaredig i fyny ac i waered yn yr Ysgrythyrau, yn dadlu yn gadarn dros y taerineb santaidd hwnw, a'r trais cysegredig a ddangosodd y saint gynt yn eu cyfarchiadau at Dduw. Y mae gwresogrwydd yn pluo adenydd gweddi, ac yn ei gwneyd i ehedeg i'r nefoedd. Y saeth, os na thynir hi i fyny ond ychydig, ni eheda yn mhell; ond os tynir hi i fyny i'r pen, eheda yn mhell ac archolla yn ddwfn. Felly yr â taer weddi cyfuwch a'r nefoedd, ac a ddwg yn ddiau fendithion i waered oddi yno. Y mae gweddïau oerion yn rhag-ofyn am ball; ond y mae gweddïau gwresog yn santaidd dreisio nef a daear hefyd. Megys nad oes dim gwres mewn tân wedi ei baentio, felly nid oes dim cynhesrwydd, dim duwiolder, na

dim bendith mewn gweddi oerllyd. Y mae gweddïau oerion fel saethau heb flaenau, fel cleddyfau heb fin, fel adar heb adenydd; nid ydynt yn archolli, nid ydynt yn tori, nid ydynt yn ehedeg i'r nefoedd. Y cyfryw weddïau ag nad oes dim tân nefol ynddynt, sydd bob amser yn rhewi cyn y cyraeddant cyfuwch a'r nefoedd; ond gweddi daer sydd lwyddiannus iawn gyda Duw: Act. xii. 5, "Felly Pedr a gadwyd yn y carchar: eithr gweddi ddyfal a wnaethpwyd." Y mae y gair Groeg yn arwyddo gweddi daer, gweddi ddibaid, gweddi estynedig, gweddi estynedig ar ddeintr (*tenters*), fel pe bae. Gwnaeth yr eneidiau graslawn hyn ymegnïo ac ymorchestu eu hunain mewn gweddi, megys y gwna dynion a fyddai yn rhedeg mewn gyrfa; gweddïasant â holl egni eu heneidiau, ac â holl wresogrwydd eu hysbrydoedd; ac o ganlyniad, ennillasant y dydd ar Dduw, fel y gellwch weled yn yr adnodau canlynol. Felly Act. xxvi. 7, "I'r hon addewid y mae ein deuddeg llwyth ni, heb dòr yn gwasanaethu Duw nos a dydd." Neu fel y mae yn y Roeg, mewn dull dirdynol yn gwasanaethu Duw nos a dydd. Y deuddeg llwyth hyn, neu yr Iuddewon duwiol o ddeuddeg llwyth Israel, a ddirdynasant eu calonau, eu serchiadau, eu grasusau, a'u heithaf allan mewn gweddi. Yn eich holl ymneillduadau dirgel, gwnewch fel y gwnaeth y deuddeg llwyth. Rhuf. xii. 11, "Yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd." Y mae y gair Groeg yn arwyddo, yn boeth-ferwedig. Y mae Duw yn caru gweled ei bobl yn selog ac yn gynes yn ei wasanaeth; heb wresogrwydd ysbryd nid oes un wasanaeth yn cael cymeradwyaeth yn y nefoedd. Y mae Duw yn bur ac yn caru fod ei bobl yn fywiog ac yn weithredgar yn ei wasanaeth. Adn. 12, "Yn dyfal barhau mewn gweddi; yn dyfal barhau â'ch holl egni mewn gweddi." Trawsymddwyn yw oddiwrth gŵn hela, y rhai na roddant byth i fyny y chware, nes y daliont y pryf. Rhuf. xv. 30, "Ar gyd-ymdrech o honoch gyda myfi mewn gweddïau drosof fi at Dduw." Ymdrechu yn rymus;

ymdrechu fel yr ymdrecha rhwysgwyr (*champions*), hyd at lesmair, fel yr arwydda y gair; gair milwraidd yw, ac yn nodi y fath ymdrechu ac ymegnïo gwresog, fel am fywyd ac angeu: Col. iv. 12, "Gan ymdrechu yn wastadol drosoch mewn gweddïau." Y gair Groeg a arferir yma sydd yn arwyddo ymegnïo neu ymdrechu fel y rhai hyny ag sydd yn ymdrechu am oruchafiaeth: y mae yn nodi taerineb a gwresogrwydd gweddïau Epaphras dros y Colossiaid. Y mae codymwyr yn ymblygu, yn ymestyn, yn ymegnïo, pob cymal o'u cyrff, at gael yr oruchafiaeth; felly yr ymblygodd, yr ymestynodd, ac yr ymegnïodd Epaphras, bob cymal o'i enaid (os gallaf lefaru felly), fel y gallai gael yr oruchafiaeth gyda Duw ar ran y Colossiaid. Felly pan fu Jacob yn ymdrechu wrtho ei hun â Duw, mor daer a gwresog ydoedd yn ei ymdrechiadau gyda Duw; ymdrechodd ac wylodd, ac wylodd ac ymdrechodd, dirdynodd yn galed gyda Duw, ymaflodd yn ei afael, ac ni adawodd i Dduw ymadael nes, fel tywysog, iddo orchfygu gydag ef. Gweddi daer yw ymrysonfa yr enaid, ymdrechiad yr enaid â Duw; gwaith chwysol ydyw, chwys a gwaed yr enaid ydyw; gosodiad allan hyd yr eithaf holl nerth a galluoedd yr enaid ydyw; yr hwn a chwenych ennill y fuddugoliaeth ar Dduw mewn gweddi ddirgel, sydd raid dynhau pob llinyn o'i galon; rhaid iddo wrth erfyn ar Dduw warchae arno, ac felly gael y goreu arno. Rhaid iddo fod fel cardotwyr taer, y rhai ni chymerant ball gan ŵg neu ddystawrwydd, neu atebion gerwin. Rhaid i'r rhai hyny a ewyllysiant fod yn feistri ar eu deisyfiadau, fod fel y weddw daer, i wasgu ar Dduw mor bell, fel ag i'w osod mewn cywilydd santaidd, fel y gallaf ddywedyd gyda pharch; rhaid iddynt (fel y dywed Awstin) gyda digywilydd-dra santaidd wneyd i Dduw gywilyddio edrych yn eu hwynebau, pe nacäai iddynt daerineb eu heneidiau.

Pe buasai gan Abraham ychydig yn rhagor o'r digywilydd-dra hwn (ebai un) pan yr oedd yn dadleu dros Sodom, gallasai wneyd yn dda; dygodd Abraham y

pris i lawr i ddeg cyfiawn ac yno ei wylder a'i hattaliodd. Pe buasai yn myned yn îs, Duw a ŵyr beth a gawsai ei wneyd. "Nid aeth Duw ymaith (medd y testyn) nes darfod ymddyddan âg Abraham;" hyny yw, nes nad oedd gan Abraham ddim ychwaneg i'w ddywedyd wrth Dduw; rhoddodd Abraham i fyny ofyn cyn i Dduw roddi i fyny ganiatau; rhoddodd i fyny erfyn cyn i Dduw roddi i fyny leihau,ac felly collwyd Sodom.

O! y tân nefolaidd, y gwresogrwydd santaidd oedd yn ngweddi ystafellol Daniel: "Clyw, Arglwydd; arbed, Arglwydd; ystyr, O Arglwydd, a gwna; nac oeda er dy fwyn dy hun." Megys y mae dau fath o gyfaredd rhag gwenwyn, sef brwd ac oer, felly y mae dau fath o gyfaredd rhag holl drallodau y bywyd hwn, sef gweddïau gwresog ac amynedd santaidd; y naill yn frwd a'r llall yn oer; y naill yn adfywiol a'r llall yn ddiffoddol; a gwnaeth Daniel dduwiol ddefnydd o honynt ill dau Y mae gwresogrwydd mewn gweddi yr hyn oedd y tân i'r llysiau yn y thuser, neu fel adenydd i'r aderyn, neu fel olew i'r olwynion; a chafodd Daniel hyn allan drwy brofiad.

Nid yw Duw yn edrych am unrhyw Iago a phen ei liniau wedi caledu trwy astudrwydd mewn gweddi; nac am unrhyw Bartholomeus a chanrif o weddïau erbyn y boreu, a chynifer a hyny erbyn y prydnawn; ond am wresogrwydd ysbryd mewn gweddi, yr hyn yn unig sydd yn dwyn y blaen ar bob peth gyda Duw. Y mae gweddïau eiddil fel pangfeydd esgor gwanaidd yn myned heibio, ac heb byth ddwyn trugaredd i'r esgoreddfa. Gweddïau oerion ydynt blant marw-anedig, yn y rhai nis dichon Tad yr Ysbrydoedd gael dim hyfrydwch; felly nid yw gweddi oer ddim yn weddi. Nid yw y cyfryw weddïau byth yn ennill y dydd ar galon Duw, y rhai nad ydynt yn gyntaf yn gwresogi ein calonau ni ein hunain. Fel corff heb enaid, llawer o goed heb dân, bwleden mewn drull heb bylor; felly pob gweddi heb wresogrwydd gweddi.

Geilw Luther weddi *Bumbarda Christianorum*, gwn neu fagnel Cristionogion; neu wn-ergyd y Cristion.

Y ffynnonau poethaf sydd yn tywallt eu dyfroedd allan drwy or-ferwadau. Y mae gweddiau oerion yn gwneyd mwg a mogi yn llygaid Duw. Nid ydyw gweddiau oerion byth yn dwyn atebion anrhydeddus. Dichon i fegeriaid dioglyd newynu er eu holl gardota.

Y cyfryw ag sydd â gwrryw yn eu diadell, ac yn offrymu i'r Arglwydd y fenyw; y cyfryw ag sydd yn offrymu i'r Arglwydd yr anafus, y gloff, a'r glwyfus; y cyfryw ag sydd yn troi Duw ymaith â'u cyflawniadau oerllyd, dioglyd, cysglyd, a ffurfiol, sydd wedi eu condemnio a'u melldithio gan Dduw. Y mae Dafydd yn cymharu ei weddïau i arogl-darth, ac nid oedd dim arogl-darth yn cael ei offrymu heb dân; hwnw oedd yn gwneyd i'w fŵg i esgyn. Gweddi wresog yn unig sydd yn taraw y nôd, yn treiddio drwy furiau y nefoedd, er eu gwneyd fel muriau Gaza, o haiarn a phres. Tra y mae y plentyn ond yn gerian ac yn dihoeni yn y gadair, y mae y fam yn ei adael yn llonydd; ond pan unwaith yr êl i screchian a llefain o ddifri, yna y rhed i'w gymeryd i fyny. Felly y mae gyda'r Cristion: Salm xxxiv. 6, "Y tlawd hwn a lefodd," yno y mae ei daerineb,—efe a lefodd, eithr yn ddystaw a dirgelaidd, (yn mhresenoldeb brenin Achish,) megys y gwnaeth Moses wrth y môr coch, ac megys y gwnaeth Nehemia o flaen brenin Persia, "a'r Arglwydd a'i clybu, ac a'i gwaredodd o'i holl drallodau." Yma y mae ei ffyniant. Felly y glynodd Latimer wrth orsedd gras gyda thaerineb mawr, gan waeddi allan "Unwaith eto, Arglwydd; unwaith eto, adfera yr efengyl i Loegr;" a gwrandawodd Duw ef.

Hudson, y merthyr, wedi colli cysur ei brofiad wrth y pren dyoddef, a aeth yn rhydd o'i gadwyn, ac wedi gweddïo yn daer, cafodd ei gysuro yn y fan, a dyoddefodd yn wrol.

Mi a ddarllenais am un Giles o Brussels, merthyr Isellmynaidd, yr hwn oedd mor wresog mewn gweddi,

pan wedi iddo benlinio wrtho ei hun mewn rhyw le dirgel yn y carchar lle yr oedd, ei fod fel pe buasai wedi annghofio ei hun; ac wrth ei alw at ei fwyd, nid oedd yn clywed nac yn gweled pwy oedd yn sefyll yn ei ymyl, nes ei cyfodwyd gerfydd ei freichiau, ac yna llefarai yn araf wrthynt, fel un yn deffroi o lewyg.

Felly Gregory Nazianzen, wrth siarad am ei chwaer Gorgona, a ddywed iddi, yn angerdd ei gweddi, ddyfod i ddigywilydd-dra crefyddol gyda Duw, fel ag i frawychu y nefoedd, a dywedyd wrth Dduw na wnai hi byth ymadael oddi wrth ei allor nes y cai ei herfyniad wedi ei ganiatau.

Gwnawn ef ein gorchwyl i ganlyn y siamplau rhagorol hyn, os byth yr ewyllysiwn ei thywysogi mewn gweddi, fel ag i lwyddo gyda Duw. Y mae enaid taer mewn gweddi, fel cardotyn tlawd sydd yn erfyn ac yn curo, sydd yn gweddïo ac yn dysgwyl, sydd yn gweddïo ac yn gweithio, sydd yn curo ac yn gwau, sydd yn ymbil ac yn clytio, ac na syfla oddi wrth y drws nes y caffo elusenau.

Wel, gyfeillion, cofiwch hyn,—nid yw Duw yn parchu gweddiau claiar, ddim mwy na phersonau claiar; a'r cyfryw ydynt ag y mae wedi bygwth eu chwydu allan o'i enau. Y gweddïau hyny nad ydynt ond llafur gwefusau, ydynt lafur wedi ei golli; ac am hyny, yn eich holl weddïau ystafellol, edrychwch at wresogrwydd eich ysbrydoedd.

VII. Byddwch ddyfal yn gystal a gwresog mewn ystafell weddi. Edrychwch ar eich bod yn dal yn mlaen, a dal allan, a'ch bod yn parhau hyd y diwedd mewn gweddi ddirgel: 1 Thes. v. 17, "Gweddïwch yn ddibaid." Rhaid i ddyn yn wastad weddïo yn ymarferol, er nad yn weithredol; rhaid iddo fod â'i galon mewn agwedd gweddi yn mhob sefyllfa ac amgylchiad; er y dichon gweddi ystafellol gael gorphwysiad, eto nid yw byth i gael peidiad: Luc xviii. 1, "Ac efe a ddywedodd hefyd ddammeg wrthynt, fod yn rhaid gweddïo yn was-

tad, ac heb ddiffygio:" neu, fel y mae yn y Groeg, heb dynu yn ol, fel diogyn mewn gwaith, neu lwfr-ddyn mewn rhyfel. Gweddi ddirgel sydd dân, fel hwnw ar yr allor, nad oedd byth i fyned allan, ddydd na nos: 1 Thes. iii. 10, "Gan weddïo mwy na mwy, nos a dydd." Y mae Paul yn llefaru fel dyn yn gwneyd yr oll i fyny o weddi, fel dyn nad oedd yn meddwl am ddim yn gymaint a gweddi. Felly Eph. vi. 18, "Gan weddïo bob amser â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr ysbryd, a bod yn wyliadwrus at hyn yma trwy bob dyfal bara." Y mae Calvin yn gwneyd y gwahaniaeth hyn, rhwng gweddïo bob amser, yn nechreu, a gweddïo gyda dyfal bara, yn niwedd yr adnod hon:—Wrth weddïo bob amser (medd efe) y mae efe yn fy nghynghori i weddïo mewn llwyddiant yn gystal ag mewn aflwyddiant, ac nid i droi heibio y ddyledswydd o weddi mewn sefyllfa lwyddiannus, am nad ydym yn cael ein gyru ati gan wasgfeuon ac angenrheidiau allanol; ac wrth weddïo trwy ddyfal bara, y mae efe yn ein cynghori i beidio blino ar y gwaith, ond parhau yn ddibaid a dyfal yn y cyflawniad o honi, er nad ydym yn y fan yn cael yr hyn yr ydym yn gweddïo am dano. Felly y mae gweddïo bob amser yn wrthwyneb i esgeulusiad o'r ddyledswydd, yn ei hamserau a'i thymorau priodol; a gweddïo trwy ddyfal bara sydd yn wrthwyneb i balldod yn ein hysbrydoedd gyda golwg ar y cais neu'r erfyniad neillduol hyn neu hyn acw, ag ydym yn ei osod i fyny at Dduw. Pan y mae Duw yn troi clust fyddar at ein gweddïau, nid ŷm i chwerwi a diffygio, nid ŷm i wanhau a digaloni, ond rhaid i ni ddal i fyny a dal allan yn y ddyledswydd o weddi gydag amynedd, calondid, a sefydlogrwydd anorchfygol, megys y gwnaeth yr eglwys: Galar. iii. 8, 44, 55—57 wedi eu cymharu: Col. iv. 2, "Parhewch mewn gweddi, gan wylied ynddi gyda diolchgarwch." Rhaid i ni fod yn ddiwyd a dyfal mewn ystafell weddi; rhaid i ni ddysgwyl *ynddi* a throi yr oll heibio erddi. Yr hwn nad yw yn ei ystafell ond mewn pangau a llamau, ni wna na gogoneddu Duw na

lleshau ei enaid ei hun. Os na wnawn fasnach o weddi ystafellol, ni wnawn byth ddim ennilliadau o honi. Gwelwch, megys y mae y rhai sydd yn ennill arian â'u melinau haiarn, yn cadw tân parhaus ynddynt, felly y rhai a fwynhant unrhyw ddaioni enaid, trwy ystafell ddyledswyddau, rhaid iddynt ymlynu yn barhaus wrth ystafell ddyledswyddau. Y rhagrithiwr sydd yn unig yn ddianwadal mewn anwadalwch, nid yw yn ei ystafell ond yn unig mewn pangau a llamau, yn awr ac yn y man; pan y mae mewn tymher dda cewch ef yn neidio idd ei ystafell, ond nid yw efe yn ei chynal; Job xxvii. 10, "A eilw efe ar Dduw bob amser?" neu fel y mae yn Hebraeg, A eilw efe ar Dduw ar bob tymhor? Pan y maent dan y wïalen gospedigaethol, neu pan ar yr arteithglwyd, neu pan y byddont dan anghenion dirfawr, neu pan eu tarawer â braw disymwth, yna chwi a'u cewch yn cyflymu idd eu hystafelloedd, megys y rhedodd Joab at gyrn yr allor, pan yr oedd mewn perygl o'i fywyd; ond nid ydynt byth yn parhau, nid ydynt yn dal allan hyd y diwedd; ac am hyny y maent yn y diwedd yn colli eu gweddïau, a'u heneidiau hefyd yn nghyd.

Dywediad o'r mwyaf halodedig a chableddus o eiddo yr adyn atheistaidd hwnw ydoedd, yr hwn a ddywedodd wrth Dduw, "nad oedd efe yn gardotyn cyffredin, ac na flinodd efe mo hono ef erioed o'r blaen â gweddi, ac os gwnai efe ond ei wrandaw ef y pryd hwnw, na wnai efe mo'i flino byth mwy."

Gwaith caled yw gweddi ystafellol, ac y mae yn rhaid i ddyn ymdrechu yn galed wrthi, ac ymlynu wrthi fel y gwnaeth Jacob, os meddylia wneyd unrhyw fuddiolderau tufewnol a thragwyddol trwyddi hi. Dewisodd Daniel yn hytrach beryglu ei fywyd na rhoddi i fyny weddïo yn ei ystafell. Nid yr hwn sydd yn dechreu yn yr ysbryd ac yn diweddu yn y cnawd; nid yr hwn sydd yn gosod ei law ar yr aradr, ac yn edrych yn ol, ond yr hwn sydd yn parhau hyd y diwedd mewn gweddi, a achubir ac a

goronir: yr hwn sydd yn parhau mewn gwneuthur yn dda, a gaiff fwyta o'r manna cuddiedig, ac a gaiff y "gareg wen, ac ar y gareg enw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nid edwyn neb ond yr hwn sydd yn ei dderbyn." Yr eneidiau gwerthfawr, deisyfgar, galarnadol hyny yn Ezec. ix. 4, 6. a nodwyd i'w cadw yn Jerusalem, a gawsant eu gwahaniaethu, medd rhai o'r dysgedigion, â'r llythyren ת (*tau*), yr hon yw y ddiweddaf o'r holl lythyrenau Hebreig, i'w dysgu, fod yn rhaid iddynt ddal allan, a dal yn mlaen hyd y diwedd mewn gwneuthur yn dda. Parhad mewn dyledswydd ystafellol yw yr hyn a gorona y Cristion, ac a ganmola y ddyledswydd.

Ond a fynai Duw i'w bobl daflu ymaith eu galwedigaethau, ac i daflu ymaith bob gofal am berthynasau, ac i gau eu hunain i fyny yn eu hystafelloedd, ac yno i dreulio eu holl amser mewn gweddi ddirgel? O na, rhaid i bob dyledswydd gael ei hamser a'i lle ei hun; ac megys y mae yn rhaid i'r naill gyfaill beidio cau allan y llall, felly y mae yn rhaid i'r naill ddyledswydd beidio cau allan un arall. Rhaid i ddyledswyddau fy ngalwedigaeth neillduol, fel yr wyf yn ddyn, beidio cau allan ddyledswyddau fy ngalwedigaeth gyffredinol, fel yr wyf yn Gristion; na dyledswyddau fy ngalwedigaeth gyffredinol, fel yr wyf yn Gristion, beidio cau allan ddyledswyddau fy ngalwedigaeth neillduol, fel yr wyf yn ddyn. Ond fel y'th gyflawn foddloner yn y mater hwn, rhaid i ti gofio, y gellir dywedyd fod dyn yn gweddïo bob amser.

1af. Pan y mae ei galon bob amser mewn agwedd gweddi. Fel y gellir dywedyd fod dyn yn wirioneddol yn rhoddi bob amser, yr hwn sydd â'i galon bob amser mewn agwedd roddiadol; ac yn dyoddef bob amser, yr hwn sydd â'i galon bob amser mewn agwedd ddyoddefus. Er dy fwyn di yr ydys yn ein lladd ni ar hyd y dydd. Ac yn pechu bob amser, yr hwn sydd â'i galon bob amser mewn agwedd bechadurus; felly y gellir dywedyd fod dyn yn gweddïo bob amser, yr hwn sydd a'i galon bob amser mewn agwedd gweddi.

2il. Mae dyn yn gweddïo bob amser, pan y mae yn dal gafael ar bob tymhor a chyfleusdra addas i dywallt ei enaid allan ger bron yr Arglwydd yn y dirgel.

Sylwir gan rai, am Proteus, ei fod yn arfer rhoi rhyw oraclau neillduol, ond bod yn anhawdd iawn cael ganddo eu hadrodd a'u traddodi, eithr cyfnewidiai ei hun i amryw ddulliau a ffurfiau, eto os dalient allan, a gwasgu arno yn galed heb ei ofni, byddent yn sicr o gael oraclau boddhaol, gan nad i bwy agwedd neu ffurfiau yr ymddangosai. Felly os dyfal-barhawn yn ein hystafell ymdrechiadau â Duw, os daliwn mewn gweddi ddirgel, er i Dduw ymddangos i ni mewn agwedd neu ffurf barnwr, gelyn, neu ddyeithr-ddyn, byddwn yn sicr o lwyddo yn y diwedd. "O wraig, mawr yw dy ffydd, bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio; a'i merch a wnaed yn iach o'r awr hòno allan."

Pan ofynwyd i philosophydd yn ei hen ddyddiau, paham na roddai efe i fyny ei ymarferiad, a chymeryd ei esmwythder, efe a atebodd, "Pan y mae dyn i redeg gyrfa o ddeugain ystâd, a fynech chwi iddo eistedd i lawr ar y deugain ond un, ac felly golli y tlws, y goron am yr hon yr oedd yn rhedeg?" O feistriaid, os na ddeliwch allan hyd y diwedd mewn gweddi ystafellol, chwi a gollwch yn ddiau y gamp nefolaidd, coron y bywyd, coron y gogoniant. Mae parhau mewn rhoddi gogoniant i Dduw, yn y ffordd hon o ddyledswydd, mor angenrheidiol ag i ddechreu; canys er fod y cychwyniad yn fwy na hanner y peth, eto mae y diwedd yn fwy na'r cwbl. Mae yr holl-berffaith Dduw yn edrych ar fod ein gweithredoedd diweddaf, ein gweithredoedd goreu, ac y dylem ni ymlynu wrth weddi ystafellol hyd y diwedd, Dat. ii. 10. Yn eich holl ymneillduadau dirgel, na ddodwch i fyny gyda dim tu yma i gymdeithas â Duw, a dim tu yma i fwynhad melus ac ysbrydol o hono. Salm xxvii. 4, "Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd, a hyny a geisiaf, sef caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl

ddyddiau fy mywyd; i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml." Ni wnai teml yr Arglwydd, heb gymundeb âg ef, foddloni enaid Dafydd. Salm xlii. 62, "Fel y brefa yr hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw." "Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw; pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw!"

Yr hŷdd, fel y sylwa Aristotle ac ereill, o'r holl greaduriaid, yw y mwyaf poeth a sych o hono ei hun, ond yn enwedig pan y byddo yn sychedig iawn. Trwy hyn y mae Dafydd yn dangos y fath syched angerddol a fflamllyd oedd yn ei enaid am gymundeb â Duw: ac megys na wna dim ddiwallu yr hŷdd brefedig ond yr afonydd dyfroedd; felly ni wna dim ddiwallu ei enaid yntau ond mwynhad o Dduw. Salm xliii. 4, "Yna yr âf at allor Duw, at Dduw hyfrydwch fy ngorfoledd." Rhoddir allor Duw yma am addoliad Duw! yn awr nid addoliad noeth o Dduw, ond cymundeb â Duw oedd hyfrydwch gorfoledd Dafydd. Salm lxiii. 1, 2, "Ti, O Dduw, yw fy Nuw i, yn foreu y'th geisiaf: sychedodd fy enaid am danat, hiraethodd fy nghnawd am danat, mewn tir cras a sychedig heb ddwfr: i weled dy nerth a'th ogoniant, fel y'th welais yn y cysegr." Nid oedd enaid Dafydd yn sychedu am goron nac unrhyw fawredd bydol, ond am fwynhad hyfrydol a melus o Dduw yn ei helynt yn yr anialwch. Ni flysiodd un wraig feichiog erioed fwy am y peth hyn neu arall, nag a flysiodd enaid Dafydd am gymundeb sylweddol â Duw yn ei holl ofidiau a'i ddyoddefiadau. Salm lxxxiv. 2, "Fy enaid a hiraetha ac a flysia am gynteddau yr Arglwydd; fy nghalon a'm cnawd a waeddant am y Duw byw." Wrth gynteddau yr Arglwydd yr ydym i ddeall ei ordinhadau; yn awr, ni wnai y rhai hyn, heb gymundeb â Duw, ddiwallu enaid Dafydd.

Yr ydwyf yn canmol y dywediad hwnw o eiddo Bernard, *Nunquam abs te absque, te recedo:* Nid wyf byth

yn dyfod atat ti, ond trwot ti; nid wyf byth yn myned oddiwrthyt ti, hebot ti.

VIII. Pa bryd bynag ya eloch i'ch ystafelloedd, ymegnïwch yn daer am wir a sylweddol gymundeb â Duw, fel y galloch ddyfod allan â dysgleiriadau Duw ar eich ysbrydoedd; megys y daeth Moses i waered o'r mynydd â'i wyneb yn dysgleiro. O! na ddodwch i fyny gyda'ch dagrau, llawenydd, a'ch eangiadau; eithr llafuriwch a hiraethwch am fwynhau y gymdeithas dufewnol ac agos hòno â Duw yn eich hystafelloedd ag a adawo y fath arogl peraidd a rhagorol o eiddo Duw ar eich calonau a'ch bucheddau, ag a baro i ereill orfod dywedyd, Y rhai hyn yn ddiau a fuont gyda'r Iesu. Y mae yn erchyll pan y mae Cristionogion yn dychwelyd o'u hystafelloedd idd eu masnachdai, at eu masnachau,eu teuluoedd, a'u trafodiaeth, heb y gradd lleiaf o belydrau gweledig o ddwyfol ogoniant arnynt.

O Syrs! ni bydd ystafell weddi ond peth difywyd a digysur i chwi os na fwynhewch gymuddeb â Duw ynddi. Cymundeb â Duw yn unig yw enaid eich holl ddyledswyddau ystafellol; ac am hyny canlynwch ar ei ol fel am fywyd. Pan eloch i'ch hystafelloedd, gollyngwch bob peth ymaith ag a ddichon attal eich mwynhad o Grist. O! bydded ystafell weddi yn gerbyd i gludo eich eneidiau drosodd at Dduw, ac i'ch dwyn i agosach cymundeb âg ef. Na foddloned un ddyledswydd ystafellol chwi, os na ddarfu i chwi gymdeithasu â Duw fel y gwna cyfaill gymdeithasu â chyfaill, hyd yn nod wyneb yn wyneb. Nid oes dim yn dangos mwy o bydrni a halogedigaeth calon, na hyn,—pan y gwna dynion weddi yn ddyben gweddi; pan y dichon dynion fyned yn mlaen mewn dyledswydd, a chau i fyny ddyledswydd, ac heb un amser fwynhau y cymundeb lleiaf â Duw yn y ddyledswydd.

Ond pa fodd y dichon dyn wybod pa un a ydyw yn cael gwir gymundeb â Duw mewn dyledswydd ai peidio?

Y mae hwn yn ofyniad rhagorol ac angenrheidiol, ac o ganlyniad y mae yn galw am atebiad boddhaol.

*Yn gyntaf.* Dichon dyn gael cymundeb â Duw mewn tristwch a dagrau, pan na byddo yn cael cymundeb â Duw mewn llawenydd a hyfrydwch; dichon dyn gael cymundeb â Duw yn ffordd calon ddarostyngiad, a chalon ffieiddiad, pan nad yw yn cael cymundeb â Duw yn ffordd calon eangiad a chalon gysuriad. Y mae yn gamgymeriad mawr yn mhlith llawer o Gristionogion tyner, i feddwl nad ydynt yn cael cymundeb â Duw pan nad ydynt yn cael fod Duw yn cyfodi gorlanwadau o lawenydd a chysur yn eu heneidiau: pan y byddont yn cael o bresenoldeb teimladol Duw idd eu lloni, eu hadfywio, a'u rhyddhau yn eu hystafelloedd, yna y maent yn barod i ddywedyd eu bod wedi cael cymundeb melus â Duw yn eu hystafelloedd; ond os tŷr eu calon am bechod, os cyferfydd â hwynt, ac amlygu ei allu a'i bresenoldeb, er iselu a thaflu i lawr eu heneidiau oddiar yr olwg a'r ystyriaeth o'u hanmherffeithrwydd a'u llygredigaethau cryfion, mor anhawdd yw ganddynt gredu eu bod yn cael dim cymundeb â Duw! Wel, gyfeillion, cofiwch hyn, unwaith am yr oll, y dichon Cristion gael cymundeb mor wirioneddol yn ffordd calon ddarostyngol ag a ddichon yn ffordd calon gysurol; dichon Cristion gael cymundeb mor nodedig â Duw pan y mae ei lygaid yn llawn dagrau ag a ddichon pan y mae ei galon yn llawn o lawenydd. Weithiau y mae Duw yn cyfarfod â Christion yn ei ystafell ac yn ei fawr ddarostwng; ar brydiau ereill, y mae yn ei loni, ei gysuro, ei adfywio, a'i fywhau yn rhyfeddol. Nid yw Duw bob amser yn ymweled â'r enaid yr un ffordd, nid yw bob amser yn dyfod i mewn drwy yr un a'r unrhyw ddrws. Yr ydym weithiau yn dysgwyl cyfaill i mewn drwy ddrws y wyneb, a phryd arall y daw drwy ddrws y cefn; a phrydiau ereill pan yr edrychom am dano drwy ddrws y cefn, y daw drwy ddrws y wyneb; ac yn mron yr un fath y mae gyda dyfodiad Duw i mewn i eneidiau ei bobl. Weithiau y

maent yn myned i mewn idd eu hystafelloedd gan obeithio y daw Duw i mewn drwy ddrws y wyneb o lawenydd a chysur, a'r pryd hyny y daw i mewn drwy ddrws y cefn o dristwch a blinder. Brydiau ereill, pan y meddyliant y dylai Duw ddyfod i mewn drwy ddrws y cefn o ddarostyngiad, gan ddryllio a thoddi eu calonau, y pryd hwnw y daw Duw i mewn drwy ddrws y wyneb o lawenydd a dyddanwch, gan loni a sirioli eu heneidiau.

*Yn ail.* Yr wyf yn ateb, nad yw pob Cristion yn mwynhau gogymaint cymundeb â Duw; y mae rhai yn mwynhau llawer o gymundeb â Duw yn eu hystafelloedd, ac ereill ond ychydig. Cafodd Moses gymundeb mwy goleu, gogoneddus, a pharhaus â Duw nag a gafodd neb arall yn yr amseroedd hyny ag yr oedd efe yn byw ynddynt. Ni lefarodd Duw wyneb yn wyneb wrth neb megys y gwnaeth wrth Moses. A chafodd Abraham gymundeb mwy agos, cyfeillgar, ac anwyl â Duw, nag a gafodd Lot dduwiol, na neb arall yn y dyddiau hyny. Ac er i'r holl ddysgyblion (oddigerth Judas) gael cymundeb melus â Christ yn nyddiau ei gnawd, eto cafodd Pedr, Iago, ac Ioan, gymundeb mwy llawn, rhagorol, ac eglur âg ef, na'r lleill. O'r holl ddysgyblion, Ioan a gafodd y cymundeb mwyaf mynwesol, ac efe oedd yr un mwyaf anwyl yn llys Crist; pwysodd ef ar ei fynwes, a gallai ddywedyd unrhyw beth, a chael unrhyw beth gan Grist; yn awr nad yw yr holl Gristionogion yn mwynhau yr un cyffelyb gymundeb â Duw yn eu hystafelloedd, a ellir ei brofi yn eglur yn y dull canlynol:

1. Nid yw pawb Cristionogion yn parotoi yn ogymaint at fwynhau cymundeb ystafellol â Duw, ac y mae hyny yn un rheswm paham nad yw Cristionogion yn mwynhau yr un gogymaint cymundeb â Duw.

2. Nid yw pawb Cristionogion yn ogymaint yn gwerthfawrogi cymundeb â Duw. Y mae rhai yn gwerthfawrogi cymundeb â Duw yn eu hystafelloedd uwchlaw pob peth arall. Fel y dywedodd y merthyr

rhagorol hwnw, "Melldigedig fyddo yr hwn sydd yn gwerthfawrogi yr holl fyd rhagor i un awr o gymundeb â Duw." Y maent yn edrych arno fel y perl hwnw, er mwynhau pa un y maent yn barod i werthu yr oll, ac ymadael â'r cwbl; y mae ereill yn ei brisio yn îs, ac felly yn mwynhau llai o hono, nag ereill sydd yn gosod uwch gwerth arno.

3. Nid yw pawb Cristionogion yn ogyffelyb ymgyrchu ar ol cymundeb â Duw yn y dirgel: y mae rhai yn ymgyrchu ar ol y cymundeb hwn fel yr ymgyrcha dyn condemniedig ar ol maddeuant, neu fel yr ymgyrcha cardotyn tylawd ar ol elusen. Yn awr, gwyddoch fod y rhai hyn yn ymgyrchu yn mlaen gyda'r difrifwch mwyaf, y gwresogrwydd mwyaf, a chyda'r taerineb mwyaf a ellir meddwl am dano. Ond y mae ereill yn ymgyrchu ar ol cymundeb â Duw yn eu hystafelloedd yn fwy oerllyd ac esgeulus. "Diosgais fy mhais, pa fodd y gwisgaf hi? Golchais fy nhraed, pa fodd y difwynaf hwynt?" Yn awr, y rhai sydd yn ymgyrchu fwyaf ar ol cymundeb â Duw yn eu hystafelloedd, a fendithir yn gyffredin â'r graddau eithaf o gymundeb âg ef.

4. Nid yw pawb Cristionogion yn gwneyd cymaint o'u cymundeb â Duw a'u gilydd; ac am hyny nid ydynt yn mwynhau yr un fath gymundeb âg ef. Gwna rhai Cristionogion gynyddiad mwy doeth, santaidd, a pharhaus o'u cymundeb â Duw nag a wna ereill; ac o ganlyniad, bendithir hwy â graddau uwch o'r cyfryw gymdeithas nag ereill. Defnyddia rhai Cristionogion eu hystafell gymundeb â Duw yn erbyn y byd, y cnawd, a'r diafol, yn fwy nag a wna ereill; ac am hyny nid rhyfedd yw os ydynt yn mwynhau mwy o gymundeb â Duw yn eu hystafelloedd nag ereill.

5. Nid oes angen ar bawb Cristionogion am yr un cymundeb â Duw yn eu hystafelloedd. Nid oes gan bawb Cristionogion yr un lle yn nghorff dirgeledig Crist: y mae rhai yn llywodraethu ac ereill yn cael eu llywodraethu. Yn awr, y mae pob dyn yn sefyll mewn mwy

neu lai o angen am gymundeb â Duw yn ol y mae yn sefyll ynddo yn nghorff Crist. Eilwaith, nid oes gan bawb Cristionogion yr un baich i'w ddwyn, na'r un anhawsderau i fyned drwyddynt, na'r un profedigaethau i ymdrechu i'w herbyn, na'r un nwydau a llygredigaethau i'w marweiddio, na'r un trugareddau a phrofiadau i'w ymehangu; gan hyny nid oes angen ar bawb Cristionogion am y cyffelyb gymundeb â Duw yn y dirgel. Yn awr, y mae Duw yn gyffredin yn gollwng ei hun allan yn fwy neu lai mewn ffordd o gymundeb, yn ol fel y bydd angenrheidiau ac amgylchiadau ei bobl yn galw.

6. Mae rhai Cristionogion yn cyfarfod â mwy o attalfeydd allanol a thufewnol nag ereill; ac y mae galwedigaethau, perthynasau, ac amgylchiadau allanol rhai Cristionogion yn attal eu cymundeb ystafellol â Duw. Heblaw hyn, y mae Satan yn fwy diwyd wrth rai Cristionogion nag y mae wrth ereill; ac y mae llygredigaethau yn gweithredu yn fwy cryf a nerthol mewn rhai Cristionogion nag mewn ereill; a gadewch i mi chwanegu hyn at y lleill oll, fod tymherau naturiol rhai Cristionogion yn fwy croes i ddyledswyddan ystafellol nag yw tymherau naturiol ereill, ac am hyny nid yw pawb Cristionogion yn cael y cyffelyb gymundeb â Duw yn eu hystafelloedd, eithr y mae rhai yn cael mwy a rhai lai, yn ol fel y byddo Duw yn ei anfeidrol ddoethineb yn gweled yn oreu.

Yn awr, na ddyweded yr un Cristion nad yw yn cael dim cymundeb â Duw mewn ystafell weddi am nad yw yn cael y fath gyflawn, y fath ddewisol, y fath felus, y fath deimladol, a'r fath barhaus gymundeb â Duw ag a gafodd y cyfryw a'r cyfryw saint, neu ag y mae y cyfryw a'r cyfryw saint yn ei gael; oblegid nid yw pawb saint yn mwynhau yr un ogymaint cymundeb â Duw yn eu hystafelloedd. Y mae rhai yn cael mwy a rhai lai; y mae rhai yn cael uwch graddau, a rhai îs; y mae rhai yn cael eu goblygu yn y drydedd nef, pan nad yw ereill ond yn cael eu goblygu yn y cymylau. Pa ddyn sy mor blentynaidd a ddadleua fel hyn: nad oes ganddo

ddim doethineb, am nad oes ganddo ddoethineb Solomon; neu nad oes ganddo ddim nerth, am nad oes ganddo nerth Samson; neu nad oes ganddo ddim bywyd, am nad oes ganddo gyflymdra Ahimaas; neu nad oes ganddo ddim etifeddiaeth, am nad oes ganddo oludoedd Difes; ac eto y mae llawer o Gristionogion gweiniaid mor blentynaidd a dadlu fel hyn, sef, nad ydynt hwy yn cael dim cymundeb â Duw, am nad ydynt yn cael y fath uchel, y fath gysurlawn, a'r fath barhaus gymundeb â Duw yn eu hystafelloedd ag a gafodd y cyfryw a'r cyfryw saint, neu ag y mae y cyfryw a'r cyfryw saint yn ei gael yn awr; lle y dylent ddwys ystyried, er fod rhai saint yn cael cymundeb cryf â Duw, eto nad yw Cristionogion ereill yn cael ond cymundeb gwan âg ef; ac er fod rhai o weision Duw yn cael beunyddiol, parhaus, a diymattal gymundeb â Duw, eto nid yw ereill o'i weision yn cael ond cymundeb mwy byr ac ansefydlog âg ef. Ond,

*Yn drydydd.* Yr wyf yn ateb, Pan y mae dyn yn gweithredu gras mewn ystafell ddyledswyddau, yna yn ddiau y mae yn cael cymundeb â Duw; pan y mae dyn yn gweithredu ffydd ar Dduw, neu ffydd yn yr addewidion, neu ffydd yn ngwaed Crist, neu pan y mae dyn mewn dirgel ddyledswyddau yn edifarhau am bechod, neu yn caru Iesu Grist, neu yn gosod Duw fel gwrthddrych ei lawenydd, &c., yna y mae yn cael cymundeb â Duw, yna y mae yn cael cymdeithas â'r Tad, ac â'r Mab. Dichon dyn diadgenedledig weithredu doniau a rhanau mewn dyledswydd, ond ni ddichon weithredu gras mewn dyledswydd; oblegid ni ddichon neb weithredu gras mewn dyledswydd, ond yr hwn sydd a gras yn ei enaid: oddiyma y mae, nad yw dynion halogedig dan y bywiogrwydd mwyaf a'u cywreinrwydd, rhanau a doniau mewn dyledswyddau crefyddol, yn mwynhau dim cymundeb â Duw un amser, tyst o hyn yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, Demas, Judas, Simon Magus, &c. Os byth yr ewyllysioch gael amlygrwydd o'ch cymundeb â Duw mewn ystafell-ddyledswyddau, edrychwch yn fanwl

i fywiogrwydd eich grasusau, a chynhyrfwch i fyny yn ofalus ras Duw yr hwn sydd ynoch. Ond,

*Yn bedwaredd.* Yr wyf yn ateb, Pan y mae dyn yn cael cymundeb â Duw yn ei ystafell, yna y mae yn rhoddi i Dduw ogoniant ei holl weithrediadau, a'i fywiogaethau. Mae cymundeb â Duw bob amser yn nerthu dyn i osod coron o fawl ac anrhydedd ar ben Duw, tyst o hyny yw y fawl-wers ddiolchus a graslawn hòno o eiddo Dafydd a'i bobl yn 1 Chron. xxix. 13, " Ac yn awr, ein Duw ni, yr ydym ni yn dy foliannu ac yn clodfori dy enw gogoneddus." Dynion nad yw yn mwynhau dim cymundeb â Duw yn nyledswyddau crefydd, sydd yn barhaus aberthu idd eu rhwyd eu hunain, y maent yn bendithio ac yn clodfori eu hunain yn barhaus, y maent yn meddwl nad yw y goron o anrhydedd yn weddus i ben neb ond yr eiddynt hwy; tra y gwna y rhai sydd yn mwynhau cymundeb â Duw ddigoroni eu hunain i goroni Duw, gwnant ddigoroni eu galluoedd a'u caniadau, i osod y goron o fawl ar ben Duw yn unig. Tydi a ddywedi dy fod yn cael cymundeb â Duw mewn ystafell-ddyledswyddau, ond ar ben pwy yr wyt yn gosod y goron-bleth o fawl? Os ar ben Duw, yr wyt yn cael cymundeb â Duw; os ar dy ben dy hun, nid wyt yn cael dim cymundeb â Duw. Megys y mae yr holl afonydd yn rhedeg i'r môr, a'r holl linellau yn cyfarfod yn y canol, felly pan y mae ein holl ystafell-ddyledswyddau yn dybenu ac yn cydgyfarfod yn nyrchafiad gogoniant Duw, yna yr ydym yn cael cymundeb â Duw ynddynt.

Yr oedd Constantine yn arfer ysgrifenu enw Crist uwch ben ei ddrws. Pan y mae dyn yn cael cymundeb â Christ, yna efe a ysgrifena anrhydedd Crist ar ei ddyledswydd. Dywed rhai fod enw Iesu wedi ei gerfio ar galon Ignatius; yr wyf finau yn sicr, pan y mae dyn yn cael cymundeb â Duw mewn dyledswydd, y caiff anrhydedd a gogoniant Iesu wedi ei gerfio ar y ddyledswydd hòno. Ond,

*Yn bummed.* Yr wyf yn ateb, Pan y mae cyflawn-

iad o ddyledswyddau ystafellol yn gadael yr enaid mewn gwell agwedd, yna y mae dyn yn cael cymundeb â Duw ynddynt. Pan y mae dyn yn dyfod allan o ddyledswyddau ystafellol, mewn agwedd mwy santaidd, gostyngedig, ac ysbrydol, neu mewn agwedd mwy gwyliadwrus a nefolaidd, neu mewn agwedd mwy bywhaol ac adfywiol, yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw yn y dyledswyddau hyny. Pan y dêl dyn allan o'i ystafell, ac yn cael fod agwedd ei galon wedi ei gosod yn gryfach yn erbyn pechod, yn fwy uchel benderfynol i rodiaw gyda Duw, wedi ei chroeshoelio yn fwy i'r byd, wedi ei nefol-sefydlu yn fwy yn erbyn profedigaethau, yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw yn ei ystafell.

*Yn chweched.* Yr wyf yn ateb, Pan y mae dyledswyddau ystafellol yn addasu y dyn i ddyledswyddau ereill, yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw. Pan y mae dyledswyddau ystafellol yn addasu dyn at ddyledswyddau cyhoeddus, neu ddyledswyddau yr alwedigaeth yn mha un y gosododd Duw ef, yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw ynddynt. Pan y mae dyn mewn dyledswyddau ystafellol yn cael mwy o nerth ysbrydol i gyflawni y dyledswyddau hyny ag sydd yn orphwysedig arno, yna yn ddiamau efe a gyfarfu â Duw, neu pan y mae un ddyledswydd yn fy addasu i un arall, megys pan y mae gweddïo yn fy addasu i ddarllen, neu ddarllen i weddïo; neu pan y mae darllen neu weddïo yn fy addasu at y dyledswyddau ysbrydol hyny, sef, hunan-ymholiad, santaidd fyfyriad, ac enaid ddarostyngiad, &c., yna gallaf hyderu fod rhyw gyfrinach ragorol wedi bod rhwng fy enaid â Duw. Pan pa fwyaf y gweddïwyf yn fy ystafell, mwyaf y'm haddasir i weddïo yn fy ystafell; a mwyaf a ddarllenwyf, mwyaf y'm haddasir i ddarllen yn fy ystafell; a pha fwyaf a fyfyriaf, mwyaf y'm haddasir i fyfyriaw yn fy ystafell; a pha fwyaf y chwiliwyf ac yr holwyf fy nghalon, mwyaf oll fyddaf yn cael fy nghymwyso i chwiliaw a holi fy nghalon yn fy ystafell; yna gallaf hyderu fy mod wedi cael cymundeb â Duw.

*Yn seithfed.* Yr wyf yn ateb, Fod pob dirgel gymundeb â Duw yn enaid ddarostyngol ac yn enaid ymddarostyngol. Abraham oedd ddyn a gafodd lawer o gymundeb dirgel â Duw, ac yr oedd yn ddyn isel iawn yn ei olwg ei hun. Gen. xviii. 27: "Ac Abraham a atebodd ac a ddywedodd, Wele yn awr y dechreuais lefaru wrth fy Arglwydd, a mi yn llwch ac yn lludw." Gyda golwg ar fy nharddiad, medd Abraham, nid wyf ond llwch a lludw; gyda golwg ar fy haeddiant, haeddu yr wyf fy llosgi yn ulw. Nid oes neb mor ostyngedig a'r rhai hyny ag sydd yn cael agos gymundeb â Duw. Jacob oedd ddyn yr hwn a gafodd lawer o gymundeb dirgelaidd â Duw, a dyn yr hwn oedd yn fychan iawn yn ei olwg ei hun. Gen. xxxii. 10: "Ni ryglyddais y leiaf o'th holl drugareddau di, nac o'r holl wirionedd a wnaethost â'th was;" neu yn ol yr Hebraeg, Llai wyf na'th holl drugareddau. Pan yr oedd Jacob i ymwneyd â Laban, y mae yn dadleu ei deilyngdod; ond pan yr oedd i ymwneyd â Duw, y mae yn darostwng ei hun islaw y lleiaf o'i drugareddau. Moses oedd ddyn yr hwn a gafodd lawer o gymundeb dirgel â Duw, a'r dyn llareiddiaf. Num. xii. 3: "A'r gŵr Moses ydoedd lareiddiaf o'r holl ddynion ydoedd ar wyneb y ddaear."

Josephus, wrth ysgrifenu am Moses, a ddywed ei fod mor rhydd oddiwrth nwydau fel na wyddai am ddim o'r fath beth yn ei enaid; ni wyddai am nwydau ond wrth eu henwau, a'u gweled mewn ereill; ond ni theimlodd hwynt ynddo ei hun. Ac felly, pan ymddangosodd gogoniant Duw iddo, syrthiodd ar ei wyneb, Num. xvi. 22, yn arwydd o ostyngeiddrwydd a hunan-ddarostyngiad. Dafydd oedd ŵr a gafodd lawer o gymundeb dirgel â Duw, ac mor fawr y mae efe yn ei ddarostwng ei hun, 1 Sam. xxvi. 20, "Brenin Israel a ddaeth allan i geisio chwannen;" a pheth sydd fwy dirmygus na chwannen? Felly pen. xxiv. 14: "Ar ol pwy y daeth brenin Israel allan? ar ol pwy yr ydwyt ti yn erlid? ar ol ci marw, ar ol chwannen." Fel pe dywedasai Dafydd, Nid yw y

drafferth yn werth ffiloreg; y mae islaw urddasrwydd ac anrhydedd brenin Israel i gymeryd y fath boen, ac i ganlyn mor angerddol ar ol y fath ddim tylawd ag ydwyf fi, yr hwn nad oes genyf ddim mwy o nerth neu allu i gnoi neu niweidio na chî marw neu chwannen. Felly Salm xxii. 6, "A minau, pryf ydwyf, ac nid gŵr." Yn awr, pa beth wanach, llai parchedig, neu yn fwy dirmygus? Beth a sathir yn fwy dan draed na phryf? Y Hebreig *talognath*, a gyfieithir yma pryf, sydd yn arwyddo pryf bychan iawn, y cyfryw a eppiliant mewn sidan, y rhai sydd mor fychan fel mai prin y gall dyn eu gweled a'u canfod. Fel hyn y gwelwch i Dafydd dduwiol ddarostwng ei hun islaw pryfedyn, ïe, islaw y lleiaf o'r pryfed. Nid oes neb yn gosod cyn lleied gwerth arno ei hun ag y mae yr hwn sydd yn cael cymundeb dirgel â Duw yn ei wneyd. Darfu i'r pedwar henuriaid ar hugain fwrw eu coronau i lawr wrth draed Iesu Grist, Dat. iv. 10, 11. Eu coronau sydd yn arwyddo eu holl dufewnol ac allanol urddas, rhagoriaethau, a'u gogoniant. Bwrw i lawr eu coronau sydd yn arwyddo eu mawr ostyngeiddrwydd a'u hunan-ddarostyngiad. Pan y dichon Cristionogion yn eu hystafelloedd fwrw i lawr eu coronau, eu dyledswyddau, eu cyflawniadau, eu grasusau, eu heangiadau, a'u mwynhad wrth draed Iesu Grist, ac eistedd i lawr mewn iseliad a bychaniad o honynt eu hunain, yna yn ddiau y maent wedi cael cymundeb melus ac agos iawn â Duw.

Y mae gan Chrysostom ddywediad rhyfeddol am ostyngeiddrwydd. Meddyliwch (eb efe) fod dyn wedi ei halogi â phob ysgelerder, eto yn ostyngedig, ac un arall wedi ei addurno â doniau, grasusau, a dyledswyddau, eto yn falch, byddai y gostyngedig mewn gwell sefyllfa na'r balch *wedi y cwbl.*

Pan y gall dyn ddyfod allan o'i ystafell ddyledswyddau, a dywedyd fel y dywedodd Ignatius unwaith am dano ei hun, *Nonsum dignus dici minimus*, Nid wyf deilwng i gael fy ngalw y lleiaf; yna yn ddiau y mae wedi cael

cymdeithas â Duw ynddynt. Yr holl gymundeb ag y mae y creadur yn ei gael â Duw yn ei ystafell, sydd yn enaid ddarostyngol iawn. Yn yr oll o gymundeb dyn â Duw, gwna rhai pelydrau o ogoniant a mawrhydi Duw dywynu ar ei enaid. Yn awr, pob dwyfol amlygiadau ydynt yn ddarostyngol ac yn iselhaol iawn, fel y gallwch weled yn yr anghreifftiau mawrion hyny o eiddo Job ac Esay. Job xlii. 5, 6: "Myfi a glywais â'm clustiau son am danat: ond yn awr fy llygad a'th welodd di. Am hyny y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun; ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw." Esay vi. 1, 5: "Gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi y deml. Yna y dywedais, Gwae fi: canys darfu am danaf: o herwydd gŵr halogedig ei wefusau ydwyf fi, ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo: canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd." O! y cymundeb melus a gafodd Elias â Duw yn yr ogof!

Yr oedd pendefiges unwaith yr hon oedd wedi ei thrallodi yn ei meddwl, ac wedi ei gadael gan Dduw, fel na allasid ei dwyn gan ŵr na neb cyfeillion Cristionogol i wrandaw na darllen un dim ag a allai fod er lles ysbrydol i'w henaid; ond o'r diwedd ei gŵr, drwy lawer o daerineb, a lwyddodd mor bell ag i gael darllen un bennod o'r Beibl iddi; felly efe a ddarllenodd Esay lvii; a phan ddaeth at y bymthegfed adnod, "Canys fel hyn y dywed y Goruchel a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragwyddoldeb, ac y mae ei enw yn Santaidd, Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf; a chyda'r cystuddiedig ac isel o ysbryd, i fywhau y rhai isel o ysbryd, ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig," "O! (ebe hi) a ydyw hi felly, fod Duw yn preswylio gyda'r cystuddiedig a'r isel o ysbryd? Yna yr wyf yn sicr ei fod yn preswylio gyda mi; oblegid y mae fy nghalon wedi ei thori yn fil o ddarnau. O! destyn dedwydd, ac amser dedwydd, i mi erioed gael clywed y fath gysur." Ac ar hyn hi a ad-

ferwyd. Pa fwyaf o gymundeb â Duw y mae dyn yn ei gael, mwyaf isel a chystuddiedig fydd ei galon.

Bradford santaidd oedd ddyn a gafodd lawer o gymundeb dirgel â Duw, a gwnai yn aml danysgrifio ei hun yn ei lythyrau, "Ioan y rhagrithiwr, a bedd wedi ei wyn-galchu." Agur oedd un o'r dynion doethaf a santeiddiaf ar y ddaear yn ei ddydd, a chondemniodd ei hun ei fod yn fwy anifeilaidd na neb, ac nad oedd deall dyn ganddo. Mor beraidd yw arogl isel lysiau y drindod (*violet*) uwchlaw y *tulip* coegaidd ag sydd yn eich gerddi! Y Cristion gostyngedig yw y mwyaf hawddgar a charuaidd. Pan ddichon dyn ddyfod allan o'i gell gyda gweddi fel Augustine, "Yr wyf yn ffieiddio yr hyn ydwyf, ac yn caru ac yn dymuno yr hyn nad ydwyf: O ddyn truenus fel ag ydwyf, yn yr hwn na ddarfu i groes Crist ddim bwyta allan eto flas gwenwynig a chwerw y pren cyntaf;" neu fel y dywed un arall, "Arglwydd, yr wyf yn gweled, ac eto yr wyf yn ddall; yr wyf yn ewyllysio, ac eto yn rhyfela; yr wyf yn ffieiddio, ac eto yr wyf yn caru; yr wyf yn canlyn, ac er hyny yn syrthio; yr wyf yn cyrchu yn mlaen, ac eto yn pallu; yr wyf yn ymdrechu, ac eto yr wyf yn cloffi;" yna gall fod yn hyderus ei fod wedi cael cymundeb â Duw yn ei ystafell. Yr hwn sydd yn dyfod allan o'i ystafell-ddyledswyddau gan ddarostwng ei hun, a gosod ei hun wrth draed Duw, cafodd hwnw yn ddiau gymundeb âg ef; ond pan ddel dynion allan o'u hystafelloedd â chalonau chwyddedig a dyrchafedig, fel yr oedd calon y Pharisead, amlwg yw na chawsant gymundeb âg ef. Ni bu Duw yn agos i eneidiau y rhai sydd yn dywedyd, "Saf ar dy ben dy hun; na nesâ ataf fi, canys santeiddiach wyf fi na thi," Esay lxv. 5. Ond,

*Yn wythfed*, ac yn olaf. Pan y mae dyn yn cael fod y fath rinwedd a grym dirgelaidd yn rhedeg drwy ei ystafell ddyledswyddau, fel ag i glwyfo a gwanhau ei anwyl halogedigaeth, dryllio grym a nerth ei bechod parod, a gosod ei galon yn fwy cyflawn yn erbyn ei chwant anwyl,

yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw. Esay ii. 20: "Yn y dydd hwnw y teifl dyn ei eilunod arian, a'i eilunod aur (y rhai a wnaethant iddynt i'w haddoli) i'r wadd, ac i'r ystlumod." Er fod ystafell-ddyledswyddau yn weinion ynddynt eu hunain, eto, pan y mae dyn yn cael cymundeb â Duw ynddynt, y maent yn troi allan yn dra nerthol i fwrw cestyll i'r llawr, a bwrw dychymygion i lawr, a phob uchder ag sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw.

Wedi i Moses fwynhau cymundeb dirgel â Duw dros ddeugain niwrnod yn y mynydd, fel y cyfododd ei galon, ac yr enynodd ei ddigofaint yn erbyn y llô aur a wnaethai ei bobl! Exod. xxxii. 19, 20: "A bu, wedi dyfod o hono yn agos i'r gwersyll, iddo weled y llô a'r dawnsiau: ac enynodd digofaint Moses; ac efe a daflodd y llechau o'i ddwylaw, ac a'u torodd hwynt islaw'r mynydd. Ac efe a gymerodd y llô a wnaethant hwy, ac a'i llosgodd â thân, ac a'i malodd yn llwch, ac a'i taenodd ar wyneb y dwfr, ac a'i rhoddes i'w yfed i feibion Israel." Ni chafodd Moses erioed gymundeb agosach â Duw nag yn awr, ac ni ddangosodd erioed gymaint o sêl, digofaint, ac eiddigedd santaidd yn erbyn pechod ag yn awr. Pan y mae dyn yn dyfod allan o fynydd dyledswyddau ystafellol gyda mwy atgasrwydd, digofaint, llid, ac eiddigedd yn erbyn pechodau mynwesol ac anwyl, ag oedd unwaith mor anwyl ganddo a'i fraich dde, neu ei lygad de, neu fel yr oedd Dalilah i Samson, neu oedd Herodias gan Herod, Isaac gan Abraham, neu Joseph gan Jacob, yna yn ddiau y mae wedi cael cymundeb â Duw yn y dyledswyddau hyny.

IX. Yn eich holl ddyledswyddau ystafellol, edrychwch ar fod gogoniant Duw yn brif ddyben genych, y nôd ag sydd genych mewn golwg. Y mae geirwirdeb mawr yn yr hen ddywediad hwnw, "Fod dyledswyddau i'w prisio, nid wrth eu gweithredoedd, ond wrth eu dybenion." Megys y mae haul yn tywynu yn diffodd tân, felly rhaid

i ogoniant Duw ysu pob dyben arall. Dau beth a wna Gristion da, gweithredoedd da ac amcanion da. Ac er nad yw amcan da yn gwneyd gweithred ddrwg yn dda, megys yn Uzzah, eto gwna amcan drwg weithred dda yn ddrwg, megys yn Jehu, uniondeb yr hwn a gymeradwywyd, ond ni ddichell a gospwyd. Mae Duw yn ysgrifenu *dim* ar yr holl wasanaeth hwnw lle nad yw dybenion dynion yn uniawn ynddynt. Jer. xxxii. 23: "Ond ni wrandawsant ar fy llais, ac ni rodiasant yn dy gyfraith; ni wnaethont ddim o'r hyn oll a orchymynaist iddynt ei wneuthur." Dan. ix. 13: "Felly y daeth yr holl ddrygfyd hyn arnom ni; eto nid ymbiliasom o flaen yr Arglwydd ein Duw." Yr oedd yr Iuddewon yn fawr iawn am ddyledswyddau a chyflawniadau crefyddol; tyst Esay i. 11—15, a lviii. 1—3, Zech. vii. 5, 6. Gallwn ddwyn mil o dystion yn rhagor pe byddai yn angenrheidiol; eithr am na ddarfu iddynt amcanu at ogoniant Duw yn yr hyn a wnaethant, am hyny ysgrifenodd yr Arglwydd *dim* ar eu holl gyflawniadau. Ynfydrwydd Ephraim oedd, iddo ddwyn ffrwyth iddo ei hun. A rhagrith y Phariseaid oedd, eu bod yn eu holl ddyledswyddau a'u cyflawniadau yn edrych am glod gan ddynion. "Yn wir, (medd Crist,) yr ydych yn derbyn eich gwobr." Gwobr dylawd a thruenus yn wir. Daw y cyfryw ddynion ag nad ydynt yn abl i edrych yn uwch na chlod dynion, yn ddiau yn fyr o ddwyfol gymeradwyaeth, a gogoneddus daledigaeth. Gwae y dyn hwnw ag sydd gydag Augustus yn uchelfrydig am gilio oddiar chwareufa dyledswydd gyda chlod. Nid wrtho ei hun yr oedd Pedr pan wadodd ei Arglwydd, ac y melldithiodd i ennill clod haid o ddihirwyr melldigedig. Os byth yr ewyllysiech geisio a chael, edrychwch ar fod gogoniant yr Arglwydd wedi ei gerfio ar eich dyledswyddau ystafellol. Hwnw a lwydda fwyaf yn ddiau, yr hwn sydd â'i galon wedi ei gosod fwyaf ar ogoneddu Duw yn ei holl ymneillduadau dirgel. Pan y mae Duw yn ein coroni, nid yw ond yn coroni ei roddion ei hun ynom ni; a phan yr ydym yn

rhoddi gogoniant i Dduw o'r oll ag ydym yn ei wneuthur, nid ydym yn rhoddi iddo ond y gogoniant sydd yn deilwng i'w enw, canys efe, ac efe yn unig, sydd yn gweithio ein holl weithredoedd ynom ni a throsom ni. Mae yr holl ddyledswyddau ystafellol yn dda neu ddrwg, yn ol fel y byddo y nôd at ba un yr amcana yr enaid ato. Yr hwn sydd yn gwneyd Duw yn wrthddrych, eithr nid ei ddyben gweddi ystafellol hefyd, nid yw ond colli ei weddi, ac yn cymeryd poen i ddistrywio ei hun. Bydd Duw yn Alexander neu yn Nero; efe a fydd oll yn oll, neu ni fydd ddim yn y byd. Y cyfryw weddïau nad yw yn cael eu cyfeirio at ogoniant Duw, ni chyrhaeddant byth mo glustiau Duw, na boddhau ei galon. Rhaid i'r dyben fod mor uchel a'r moddion, neu ynte dichon dyn gael ei golli er ei holl gyflawniadau. Y gweithredoedd mwyaf godidog o eiddo dyn a geir yn y diwedd yn bechodau godigog, os gwnaeth efe ei hun, ac nid gogoniant Duw, yn ddyben y gweithredoedd hyny.

X. Bydd sicr o offrymu dy holl weddïau ystafellol yn enw Crist. Ioan xiv. 13, 14: "A pha beth bynag a ofynoch yn fy enw i, hyny a wnaf; fel y gogonedder y Tad yn y Mab. Os gofynwch ddim yn fy enw i, mi a'i gwnaf." Ioan xv. 16: "Megys pa beth bynag a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi." Ioan xvi. 23—26: "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Pa bethau bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi. Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim yn fy enw i; gofynwch, a chwi a gewch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn. Y dydd hwnw y gofynwch yn fy enw i: ac nid wyf yn dywedyd i chwi, y gweddïaf ar y Tad trosoch." O Syrs, hyn yw eich braint yn gystal a'ch cysur, nad ydych byth i ymwneyd â Duw ond trwy Gyfryngwr. Pan yr wyt yn ymddangos ger bron Duw, mae Iesu Grist yn ymddangos gyda thi, a throsot ti; pan wyt ti yn gweddïo, yna mae yntau yn eiriol; pan wyt ti yn anfon i fyny dy erfyniadau, yna y mae yntau yn dadleu drosot. Mae

Crist yn rhoddi awdurdod i chwi i osod ei enw wrth eich holl erfyniadau; a pha weddi bynag a ddêl i fyny â'i enw ef arni, myn ateb iddi. Yn y sefyllfa o ddiniweidrwydd, gallasai dyn addoli Duw heb Gyfryngwr; ond er pan wnaeth pechod adwy mor eang rhwng Duw a dyn, ni dderbyn Duw yr un addoliad oddiwrth ddyn, ond yr hyn a offrymir i fyny trwy law Cyfryngwr. Yn awr, y Cyfryngwr hwn yw Crist yn *unig*. 1 Tim. ii. 5: "Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." Un Cyfryngwr, nid o iawn yn unig, ond o eiriolaeth hefyd.

Gwna'r Papistiaid saint ac angylion yn gyd-gyfryngwyr â Christ, ond yn hyn y maent yn ymladd yn erbyn goleuni yr Ysgrythyr. Dywed yr apostol yn eglur wrthym, fod swydd dadleuaeth yn perthynu i Grist, fel rhan o'i gyfryngoliaeth. A sicr yw, nad oes arnom ni angen am yr un arch-athraw arall yn y nefoedd ond y dyn Crist Iesu; yr hwn, gan ei fod mor agos ac anwyl gan y Tad, a all, yn ddiau, gael unrhyw beth gan y Tad ag a fydd er ei ogoniant ef, a'n lleshad ninau. Yr oedd hyn yn cael ei gysgodi dan y gyfraith; yr archoffeiriad a âi i mewn i'r cysegr, ac a ddygai enwau meibion Israel ger bron yr Arglwydd, tra fyddai y bobl yn sefyll oddiallan; yr oedd hyn yn dangos cyfryngoliaeth Crist. Yn Lef. xvi. 13, 14 y darllenwch am ddau beth—am fwg yr arogl-darth yn gorchuddio y drugareddfa, ac am waed y bustach ag oedd i'w daenellu o flaen y drugareddfa: yn awr, y gwaed hwnw oedd yn cysgodi santeiddrwydd Crist, a mwg yr arogl-darth ei eiriolaeth. Meddylia rhai o'r dysgedigion nad yw Crist yn eiriol ond trwy rinwedd ei haeddiant, ereill mai trwy ei barabl yn unig y mae yn eiriol. Yr wyf fi yn meddwl yn hytrach y geill ei fod yn ei wneyd y ddwy ffordd, oblegid fod gan Grist dafod a chorff wedi eu gogoneddu yn y nefoedd; ac a ydyw yn debygol y gwna y tafod hwnw a ddadleuodd gymaint drosom ar y ddaear fod yn hollol fud drosom ni yn y nefoedd?

Nid oes dyfodfa at y Tad ond trwy y Mab: Ioan xiv. 6. Crist yw gwir ysgol Jacob, ar hyd yr hon y mae yn rhaid i ni esgyn i'r nefoedd. Gorchymynodd Joseph i'w frodyr, os byth yr edrychent am ddim lleshad oddiwrtho ef, neu i weled ei wyneb gyda llawenydd, ar iddynt fod yn sicr o ddwyn eu brawd Benjamin gyda hwynt. O Syrs, os byth yr ewyllysiwch lwyddo gyda Duw, a chael dychweliadau melus o'r nefoedd i'ch gweddïau ystafellol, byddwch sicr o ddwyn eich Brawd Hynaf, yr Arglwydd Iesu Grist, yn mreichiau eich ffydd; byddwch sicr o ymwneyd a marsiandïo â Duw yn *unig* yn ei enw ef.

Mae dywediad rhagorol gan Luther ar y cxxx Salm: "Yn aml ac yn wirfoddol," medd ef, "yr wyf fi yn barnu hyn, Y dylech gau eich llygaid a'ch clustiau, a dywedyd nad ydych yn adnabod neb rhyw Dduw allan o Grist, neb ond yr hwn a fu ar arffed Mair, ac a sugnodd ei bronau." Meddwl y mae, neb allan o hono. Pan yr eloch at eich ystafell weddi, edrychwch na weddïoch yn eich enwau eich hunain, ond yn enw Crist; ac na wnewch roi coel nac ymddiried yn eich enwau eich hunain, ond yn enw Crist; ac na ddysgwyliwch i lwyddo ond yn enw Crist. Col. iii. 17: "A pha beth bynag a wneloch, ar air neu ar weithred, *gwnewch* bob peth yn enw yr Arglwydd Iesu." Pa beth bynag a wnelom, yr ydym i'w wneyd trwy awdurdod, trwy gymhorth, ac yn enw Crist, er ei fwyn ef a'i ogoniant. Mae enw Crist mor werthfawr a nerthol gyda'r Tad, fel ag y caiff unrhyw gais, y mwynha unrhyw ddeisyfiad oddiar ei law. Mae Iesu yn iaith China yn arwyddaw codiad haul. Pan ysgrifeno dyn enw yr Iesu ar ei ystafell-weddïau, yna mae yn sicr o lwyddo; er na rydd Duw i ddyn un dafn, un llymaid, un briwsionyn, un crystyn, er ei fwyn ei hun, eto er mwyn Iesu rhydd y bendithion goreu a'r mwyaf a weinydda y nefoedd: mae yr enw hwnw yn nerthol a galluog ger bron yr Arglwydd yn oestadol. Y gweddïau a offrymwyd i fyny gyda'r arogl-darth ar yr allor oedd yn gymeradwy, Dat. viii. 3, ac a ddaethant i fyny yn dder-

byniol, adn. 4. Ymddygwyd yn dirion at frodyr Joseph er mwyn Benjamin. O Syrs, eich holl ddyledswyddau a'ch cyflawniadau a gymeradwyir gan y Tad, nid er eich mwyn chwi, ond er mwyn Crist. Nid oes unrhyw weddïau yn cael eu gwrandaw na'u gwobrwyo ond y cyfryw ag y mae Crist yn gosod ei law wrthynt.

XI. Wedi y deloch allan o'ch ystafelloedd, gwiliwch yn ddyfal beth sydd yn dyfod o'ch gweddïau dirgel; edrychwch yn mha ffordd a thrwy ba law y caniatâ yr Arglwydd i roddi atebiad i chwi o ddirgel ddymuniadau eich eneidiau. Arferiad pobl Dduw oedd edrych pa lwyddiant a gawsant, a nodi pa roesawiad a gawsant yn y nefoedd. Salm v. 3: "Yn fore, Arglwydd, y clywi fy llef; yn fore y cyfeiriaf fy ngweddi atat, ac yr edrychaf i fyny."

Yn y geiriau hyn gellwch nodi dau beth: 1. Agwedd Dafydd mewn gweddi, "Y cyfeiriaf fy ngweddi atat." 2. Ei arferiad wedi gweddi, "Ac yr edrychaf i fyny." Y mae y prophwyd yn y geiriau hyn yn gwneyd defnydd o ddau air milwraidd. 1. Gwnai nid yn unig weddïo, eithr cofrestru i fyny ei weddïau. Gosodai hwynt mewn trefn filwraidd; wedi y gwnai hyn, yna byddai fel yspïwr ar dŵr ei wyliadwriaeth, i edrych pa un a lwyddodd, pa un a ennillodd y dydd ai peidio: a chymaint yw cynwysiad y gair Hebreig *tsaphah*. Wedi i Dafydd osod ei weddïau a'i ddeisyfiadau mewn rhangc a rhesiad, mewn trefn dda, yna yr oedd wedi penderfynu edrych drwy ba ddrws y gwnai Duw anfon atebiad. Y mae hwnw naill ai yn ynfyd neu orphwyllddyn, yn eiddil iawn neu yn ddrwg iawn, sydd yn gweddïo a gweddïo, heb byth edrych ar ol ei weddïau; sydd yn saethu llawer saeth tua'r nefoedd heb byth feddwl pa le y mae ei saethau yn disgyn. Salm lxxxv. 8: "Gwrandawaf beth a ddywed yr Arglwydd Dduw: canys efe a lefara heddwch i'w bobl, ac i'w saint." Os mynai Dafydd i Dduw wrando ei weddïau, yr oedd yn rhaid iddo wrando beth a ddywedai Duw; ac ar y mater hwn yr oedd yn hollol ben-

derfynol. Gweddi y prophwyd a gewch yn y saith adnod flaenaf o'r Salm hon, a'i benderfyniad graslawn a gewch yn yr 8fed adnod: "Gwrandawaf beth a ddywed yr Arglwydd Dduw." Fel pe dywedasai, Yn ddiau, nid yn hir y bydd cyn y rhoddo yr Arglwydd i mi atebiad graslawn, dychweliad prydlawn a chyfaddas i'm gweddi bresenol. Salm cxxx. 1, 2, 5, 6: "O'r dyfnder y llefais arnat, O Arglwydd. Arglwydd, clyw fy llefain; ystyried dy glustiau wrth lef fy ngweddïau. Dysgwyliaf am yr Arglwydd, dysgwyl fy enaid, ac yn ei air ef y gobeithiaf. Fy enaid sydd yn dysgwyl am yr Arglwydd yn fwy nag y mae y gwylwyr am y bore; yn fwy nag y mae y gwylwyr am y bore." Y rhai hyny ag sydd yn gwylio allan mewn amserau peryglus, a thywydd garw, ydynt yn aml edrych am doriad dydd. Pa fel y mae y gwyliedydd blinedig ag sydd yn wlyb gan wlaw y nefoedd, neu gan wlith y nos, yn dysgwyl ac yn gwylio, yn edrych ac yn hiraethu am y bore oleuni. Yn awr, hyn oedd agwedd a thymher ysbryd Dafydd; wedi iddo ddarfod gweddïo, y mae yn syrthio i ddysgwyl am atebiad graslawn. A gaiff y llafurwr ddysgwyl am ffrwythau gwerthfawr y ddaear? A gaiff y marsiandiwr ddysgwyl am ddychweliad ei longau? Ac a gaiff y wraig ddysgwyl am ddychweliad ei phriod sydd wedi myned i daith bell? Ac oni chaiff y Cristion ddysgwyl am ddychweliad o'i weddïau? Dysgwyliodd Noah yn amyneddgar am ddychweliad y golomen i'r arch a deilen olewydden yn ei chilfin. Hab. ii. 1: "Safaf ar fy nysgwylfa, ac ymsefydlaf ar y tŵr, a gwyliaf, i edrych beth a ddywed efe wrthyf." Y prophwyd, wedi bod yn y bennod o'r blaen yn daer iawn yn ei ymresymiadau, ac yn wresog iawn yn ei ddeisyfiadau, sydd yn awr yn esgyn ar ei dŵr gwylied, i edrych beth oedd yn dyfod o'i weddïau. Y mae efe yn sefyll fel gwyliedydd, ac yn gwylio mor effro ac mor ofalus ag yspïwr, yn dwys hiraethu cael clywed canlyniad a llwyddiant ei weddïau. Y Cristion hwnw ag sydd ganddo, mewn gweddi, un

llygad ar y gorchymyn dwyfol ac un arall ar addewid raslawn, a fydd yn sicr o edrych ar ol ei weddïau. Hwnw ag sydd yn gweddïo ac yn dysgwyl, yn dysgwyl ac yn gweddïo, ni fetha byth am ddychweliadau cyfoethog. Yr hwn a ddichon fod mewn diffyg yn gystal a dysgwyl; yr hwn a ddichon ymdawelu ar fod Duw yn cael ei ogoneddu, er nad yw efe yn cael ei foddhau; yr hwn na feiddia ragddyddio addewidion Duw, ond a ddysgwylia yn amyneddgar am gyflawniad o honynt, a all hyderu y caiff atebion prydlawn a chyfaddas i'r holl weddïau hyny a anfonwyd tua'r nefoedd. Er mai anfynych y mae Duw yn dyfod wrth ein hamser ni, eto nid yw byth yn methu a dyfod yn ei amser ei hun. "Yr hwn sydd yn dyfod a ddaw, ac nid oeda." Nid yw trugareddau Duw yn cael eu galw y *buan*, ond *sicr* drugareddau Dafydd.

Nid oes genyf yn awr ond un peth yn rhagor i'w wneyd cyn y cauwyf i fyny y traethawd hwn, a hyny yw, gosod i lawr rai rheolau a chyfarwyddiadau i'ch nerthu yn mlaen mewn ffyddlon a chydwybodol gyflawniad o'r ddyledswydd fawr hon o ystafell weddi.

1. Gochelwch ddiogi a syrthni. Os oedd Adda mewn sefyllfa o ddiniweidrwydd i gadw a llafurio yr ardd, ac os oedd wedi ei gwymp (pan yr oedd yn unbenaeth yr holl fyd) fod yn rhaid iddo eto lafurio, paham y byddai neb yn ddioglyd a syrthlyd? Diogi sydd bechod yn erbyn deddf creadigaeth. Gan i Dduw greu dyn i lafurio, y mae y diog yn troseddu y ddeddf hon; oblegid drwy ei ddiogi y mae yn taflu ymaith awdurdod ei Greawdwr. Buasai dyn mewn diniweidrwydd yn rhydd oddiwrth ludded, ond nid oddiwrth waith; yr oedd efe i lafurio yr ardd drwy apwyntiad dwyfol: "A'r Arglwydd Dduw a gymerodd y dyn, ac a'i gosododd ef yn ngardd Eden, i'w llafurio ac i'w chadw hi." Pob lludded mewn llafur, a phob poen, blinder, a llafur arteithiol, a ddaeth i mewn drwy y cwymp: "Trwy chwys dy wyneb y bwytai fara." Nid yw bara seguryd na melus na sicr. Y diog a newyna, medd Solomon. Bywyd segur a chalon sant-

aidd sydd wrthddywediad. Trwy beidio gwneyd dim, y mae dynion yn dysgu gwneyd drwg; y mae yn hawdd llithro o fywyd dioglyd i fywyd drwg a phechadurus; ïe, y mae bywyd dioglyd ynddo ei hun yn bechadurus; canys dyn a wnaed i fod yn weithgar, nid i fod yn segurllyd. Yr oedd y Cyclopes yn meddwl fod dedwyddwch dyn yn gynwysedig mewn peidio gwneuthur dim; eithr ni ddichon un peth rhagorol fod yn blentyn diogi. Seguryd sydd fam pechod, clustog ar yr hon y mae y diafol yn eistedd, ac eingion y diafol ar yr hon y mae yn ffurfio pechodau mawrion yw. Megys y mae llyffaint a seirph yn hilio fwyaf mewn dyfroedd llonydd, felly mewn dynion diog y mae pechod yn cynyddu fwyaf. Diogi yw yr hyn sydd yn annog yr Arglwydd i ymwrthod â chyrff dynion, a'r diafol i feddiannu eu heneidiau.

Dywediad Mr. Greenham, pregethwr rhagorol o'r deyrnas hon, oedd, i fenyw dylawd pan oedd y diafol yn ei themtio, ddyfod ato ef i gael cynghor pa fodd y gwrthwynebai y brofedigaeth, ac iddo roddi iddi yr ateb hwn, "Na fyddwch byth yn segur, ond bob amser mewn llawn waith, canys mi a'i profais yn fy mhrofiad fy hun; pan ddaeth y diafol i'm temtio i, mi a ddywedais wrtho nad oeddwn mewn hamdden i wrandaw ar ei ddeniadau; a thrwy y moddion hyn y gwrthwynebais ei holl ruthriadau." Seguryd yw awr y brofedigaeth, ac y mae dyn diog yn cael ei drin gan y diafol wrth ei ewyllys.

Y mae seguryd yn ddrwg mor fawr fel ag y cafodd ei euog-farnu a'i gospi yn llym gan y gwaethaf o ddynion. Yn mhlith yr Aifftiaid, diogi ydoedd brif drosedd; yn mhlith y Lucaniaid, yr oedd yr hwn a roddai fenthyg arian i ddyn segur i'w colli; yr oedd dynion segur, wrth gyfraith Solon, i ddyoddef marwolaeth; yr oedd yn well gan Seneca fod yn glaf na bod yn segur; yr oedd y Lacedemoniaid yn galw dynion i gyfrif am eu horiau segur; yn mhlith y Corinthiaid traddodid dynion segur i'r dienyddle; Antonius Pius, pan yn amherawdwr, a wnaeth i neni a thô yr holl gyfryw dai ag a adwaenid yn

derbyn dynion segur, gael eu cymeryd ymaith, gan gadarnhau nad oedd dim yn fwy annghyinhwys i'w ddyoddef, nag i'r fath lindys dioglyd ac abwyd ymlusgol gael eu hymborth a'u cynaliaeth oddiwrth y wladwriaeth hòno, yn nghynaliaeth pa un nad oedd dim cymhorth i'w gael oddiwrth eu diwydrwydd a'u llafur; yr hyn oll a ddylai ein harfogi yn erbyn syrthni a diogi. Safais ar hyn oblegid nad oes attaliad mwy yn erbyn ystafell weddi na seguryd a diogi. Y mae dynion segurllyd a dioglyd yn gyffredin yn gorwedd cyhyd yn eu gwelyau, ac yn treulio cymaint o amser gwerthfawr rhwng y grib a'r drych, ac mewn bwyta, yfed, difyrwch, ac ofera, fel na allant gael dim amser at weddi ddirgel. Yn ddiau y cyfryw ag sydd yn dewis yn hytrach fyned dan gysgu tuag uffern, na than chwysu tua'r nefoedd, ni phrisiant fawr am ystafell weddi; ac am hyny gochel syrthni a diogi fel y gwnait ochelyd llew yn y ffordd, neu wenwyn yn dy ymborth, neu farwor yn dy fynwes, neu ynte ni elli byth gael amser i ddysgwyl wrth Dduw yn y dirgel.

2. Gochel rhag treulio gormod o'th amser gyda phethau bychain crefydd, megys "mintys, anis, a chwmin;" neu olrheinio amgylchiadau addoliad; neu sefyll am y ddefod hon neu honacw, ac ar yr un pryd esgeuluso myfyrio ar y cyfammod gras; neu ymofyn pa beth oedd Duw yn ei wneyd cyn creu y byd. Pan ofynodd un y gofyniad hwnw i Awstin, efe a atebodd, "ei fod yn parotoi uffern i'r fath ymholydd swyddgar ag efe." Yr oedd yn ddywediad o eiddo Luther, "Rhag doctoriaid gwag-ogoneddus, rhag bugeiliaid ymrysongar, a rhag cwestiynau difudd, Arglwydd daionus gwared dy eglwys." Un o fwriadau mawr Satan yw, i attal dynion yn nyledswyddau mawr a phwysig crefydd. Nid yw Satan byth yn well wrth ei fodd na phan y mae yn gweled Cristionogion yn ymddyrysu ac yn petruso yn nghylch y pethau hyny mewn crefydd ag nad ydynt o fawr bwys. Y cyfryw ag sydd yn marsiandio mwy mewn crefydd am enw

mawr na bywyd da, ni chymerant ddim hyfrydwch mewn dyledswyddau ystafellol.

3. Gochelwch rhag cywreinrwydd, a rhag treulio llawer o'ch hamser gwerthfawr mewn treiddio i bethau tywyll a chuddiedig Duw, ag sydd yn gorwedd bellaf oddiwrth y goreu a'r doethaf o ddynion. Y rhai hyny ag sydd yn cael eu cythryblu gan flys cywreinrwydd (*curiosity*), a ddywedant nas gallant byth gael eu boddhau nes y delont at waelod pethau dyfnaf a dirgelaf Duw, y maent yn caru ymchwilio i ddirgeledigaethau Duw, ac i brofi dirgelion crefydd wrth eu rheswm gwan a bâs hwy, ac i fod yn ddoeth uwchlaw yr hyn sydd wedi ei ysgrifenu. Olrheinwyr cywrain i bethau dwfn dirgelaidd Duw, a wnant holl ddyfnderoedd Duw i fod yn fâs-leoedd, yn hytrach nag iddynt feddwl nad ydynt yn alluog i'w dirnad â llinyn byr eu rheswm hwy. O! na ddysgai dynion unwaith i fod yn foddlongar anwybodus lle nad yw Duw am iddynt fod yn wybodus. Ffrwynwn ein cywreinrwydd yn mhethau Duw, ac eisteddwn i lawr yn foddlongar ac yn dawel i briodoli llawer o weithredrediadau Duw i ryw achosion cuddiedig sydd yn gorwedd yn nghudd yn eigion ei dragwyddol wybodaeth a'i anfethedig ewyllys. Crist, pan oedd yma ar y ddaear, a gondemniodd yn aml, gerwin, a llym iawn ymofynwyr blysig yn nghylch pethau disylwedd; a'r rheswm mawr paham yr oedd ein Hiachawdwr mor aml yn ceryddu mympwy cywreinrwydd, oedd, oblegid fod ei choleddwyr mawr yn rhy aml yn esgeuluswyr o bynciau mwy mawr, angenrheidiol, a phwysig o eiddo crefydd. Cywreinrwydd yw un o'r peiriannau mwyaf peryglus o eiddo Satan, drwy yr hyn y mae yn cadw amryw eneidiau allan o'u hystafelloedd, ïe, allan o'r nefoedd. Pan y mae llawer enaid tylawd mewn prysurdeb yn dechreu edrych tua'r nefoedd, ac ymosod ar ddyledswyddau ystafellol, yna y mae Satan yn dechreu ymgyffroi, ac yn llafurio â'i holl egni i aflonyddu yr enaid tylawd âg ymholiadau gwag, a meddyliau cywraint, a manylwch difudd, fel nad

oes gan yr enaid ddim hamdden at ystafell-weddi. O! pa mor dda y gallasai fod gyda llawer dyn pe buasai ond treulio chwarter yr amser hwnw mewn ystafelloedd ag a dreuliodd mewn ymofyniadau blysig ar ol pethau nad oeddynt yn hanfodol i'w ddedwyddwch!

4. Gochelwch rhag ymlwytho â chrug o orchwylion bydol. Y mae gan lawer gymaint i'w wneyd ar y ddaear, fel nad oes ganddynt ddim amser i edrych i fyny i'r nef. Megys y mae llawer o ddaear yn diffodd tân, felly y mae llawer o orchwylion bydol yn diffodd serchiadau nefolaidd. Megys y llyncodd y ddaear Corah, Dathan, ac Abiran, felly y mae gorchwylion bydol yn llyncu i fyny gymaint o amser gwerthfawr, fel nad oes gan lawer ddim hamdden i fod gyda Duw yn eu hystafelloedd. Nis gall y gorchwyl hwn gael ei esgeuluso, felly nid oes genyf fi ddim hamdden i neidio allan o'm masnachdŷ i'm hystafell, medd y daearol-feddwl. Fel hyn y mae crug o orchwylion bydol yn crugio ystafell weddi yn hollol tu allan i'r drysau. Y mae llawer yn cario yn mlaen fasnach mor fawr yn eu masnachdai, fel y mae eu masnach ddirgel â'r nefoedd yn hollol o'r neilldu. Nid oes dim wedi cadw dynion yn fwy oddiwrth Grist ac ystafell weddi, na masnachdai, y newidfa, y tyddyn, yr ychain, &c. Y sêr sydd a'r cylch lleiaf sydd nesaf i'r pegwn, a'r dynion sydd yn ymdroi leiaf mewn gorchwylion bydol, sydd yn gyffredin nesaf at Dduw, at Grist, ac at y nefoedd, ac felly yn addasaf at ystafell-weddi. Y mae yn ddrwg pan y mae dynion yn ymafaelyd mewn cymaint o orchwylion bydol fel nad oes ganddynt hamdden at gymundeb â Duw yn y dirgel. Y mae yr ystŵr gymaint mewn melin fel yr ettyl bob dirgel ymddyddaniad rhwng gŵr a gŵr; ac felly y mae tyrfa o orchwylion bydol yn gwneyd cymaint o ystwr fel y mae yn attal pob dirgel ymddyddaniad rhwng Duw a'r enaid. Pe gwnai dyn sydd a thrafferth fawr, yn awr ac yn y man encilio i'w ystafell, eto byddai ei ben a'i galon wedi eu llanw a'u syfrdanu felly â meddyliau am

ei alwedigaethau, fel na chaiff Duw ond ychydig o hono ond ei bresenoldeb corfforol, neu ar y goreu, ymarferiad corfforol, yr hyn sydd fuddiol ond i ychydig. Os beiodd Crist Martha am ei lliaws gwasanaeth teuluol, er eu bod wedi cael eu cymeryd er digyfrwng wasanaeth a chynaliaeth iddo ef, oblegid eu bod yn ei hattal hi gydag achosion ei henaid, O! pa fodd ynte y beia efe ryw ddydd yr holl rai hyny, y rhai, drwy redeg eu hunain i grug o orchwylion bydol, ydynt yn tori eu hunain ymaith o bob cyfleusderau i dywallt allan eu heneidiau ger ei fron ef yn y dirgel. Ond,

5. Gochelwch bechodau dirgel. Nid oes dim yn fwy o attalfa i weddi ddirgel na phechodau dirgel; ac am hyny safwch ar eich gwyliadwriaeth, ac ymarfogwch â'ch holl egni yn eu herbyn. Y mae casineb rhwng pechu yn ddirgel a gweddïo yn ddirgel, mewn rhan oddiar euogrwydd, yr hyn sydd yn gwneyd yr enaid yn ochelgar rhag dyfod dan sylw dirgel Duw; ac mewn rhan oddiar yr ofnau a'r amheuon hyny ag y mae pechodau dirgel yn eu codi yn y galon. Nid yw goleuni ddim yn fwy gwrthwynebol i dywyllwch, Crist i Belial, na nefoedd i uffern, nag yw gweddi ddirgel i bechodau dirgel; ac am hyny pa beth bynag a wnelych, edrych ar dy fod yn rhydd oddiwrth bechodau dirgel; ac i'r dyben hyny ystyria y pedwar peth hyn,—

(1.) Fod Duw yn canfod ein pechodau dirgelaf. Y mae ei sylw gymaint ar ein pechodau dirgel ag yw ar ein pechodau cyhoeddus. Salm xc. 8: "Gosodaist ein hanwiredd ger dy fron, ein dirgel bechodau yn ngoleuni dy wyneb." Y mae gan Dduw sylw ar ein drygioni mwyaf tumewnol; y mae yn canfod yr oll a wneir yn y tywyllwch. Jer. xxiii. 24: "A lecha un mewn dirgelleoedd, fel nas gwelwyf fi ef? medd yr Arglwydd: onid ydwyf fi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear? medd yr Arglwydd." Diar. xv. 3: "Yn mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd, yn canfod y drygionus a'r daionus." Dywedyd nad yw Duw yn canfod pechodau dirgelaf meibion

dynion, sydd nid yn unig yn anfri ar ei hollwybodaeth, eithr ar ei drugaredd hefyd; oblegid pa fodd y dichon Duw faddeu y pechodau hyny nad yw yn eu canfod yn bechodau? Nid oes un cwmwl na llen a ddichon sefyll rhwng llygaid Duw a ffyrdd dynion. Diar. v. 21: "Canys ffyrdd dyn sydd yn ngolwg yr Arglwydd, ac y mae efe yn dal ar ei holl lwybrau ef." Yn yr ysgrythyr hon y mae Solomon yn llefaru am ffyrdd y godinebwr, y rhai sydd yn gyffredin wedi eu cyd-fradwriaethu â'r dirgelrwydd mwyaf celfyddgar; eto y mae Duw yn canfod yr holl ffyrdd hyn. Megys nas gall yr un haerllugrwydd ryddhau y godinebwr rhag cyfiawnder Duw, felly nis gall yr un ddirgelfa ei guddio oddiwrth lygad Duw. Er fod dynion yn llafurio i gelu eu ffyrdd rhag ereill, a rhagddynt eu hunain, eto nid yw ond gwaith ofer i geisio eu celu rhag Duw. Dynion ag sydd yn llafurio i gelu eu hunain rhag Duw, nis gallant byth gelu eu hunain oddiwrth Dduw.

Mi a ddarllenais i Paphnutius ddychwelyd Thais ac Ephron oddiwrth aflendid â'r rheswm hwn yn unig, "Fod Duw yn canfod pob peth yn y tywyllwch, pan y mae y drysau yn nghlo, y ffenestri yn nghauad, a'r cauadleni wedi eu tynu." Heb. iv. 13: "Ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef; eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored (wedi ei ddifynu—*anatomized*) i'w lygaid ef am yr hwn yr ydym yn son." Cyfeiriad yw at yr offeiriaid dan y gyfraith, y rhai, pan laddent anifail, yr oedd pob peth ag oedd tufewn i'r anifail yn cael eu gosod yn agored ac yn noeth ger bron yr offeiriad, fel y gallai weled beth oedd yn iach a pheth oedd yn llygredig. Er i ddrygioni gael ei wneyd o olwg yr holl fyd, eto y mae yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef â'r hwn y mae a wnelom.

Dywediad rhagorol o eiddo Ambrose ydoedd, "Os na elli ymguddio dy hun rhag yr haul, yr hwn yw gweinidog goleuni Duw, pa mor anmhosibl fyddai i ti guddio dy hun rhag yr hwn sydd â'i lygaid fyrddiwn o weithiau

yn ddysgleiriach na'r haul?" Er y dichon pechadur dwyllo ei gydwybod, eto ni ddichon dwyllo llygad hollwybodaeth Duw. O! na wnai eneidiau tylodion gofio, fel megys nad ydynt byth allan o gyraedd llaw Duw, felly nid ydynt byth allan o olwg ei lygad. Y mae Duw yn *totus oculus*, llygad i gyd. Jer. xvi. 17: "Canys y y mae fy ngolwg ar eu holl ffyrdd hwynt: nid ydynt guddiedig o'm gwydd i, ac nid yw eu hanwiredd hwynt guddiedig oddiar gyfer fy llygaid." Job xxxiv. 21, 22: "Canys ei lygaid ef sydd ar ffyrdd dyn, ac efe a wêl ei holl gamrau ef. Nid *oes* dywyllwch na chysgod angeu, lle y gall y rhai sydd yn gweithio anwiredd, ymguddio." Jer. xxxii. 19: "Canys y mae dy lygaid yn agored ar holl ffyrdd meibion dynion, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei weithredoedd."

Chwi a wyddoch beth a ddywedodd Ahasferus y brenin mawr hwnw mewn perthynas i Haman, pan ddaeth efe i mewn, efe a'i cafodd wedi ymdaflu ar y gwely, ar yr hwn yr eisteddai y frenines. "Beth!" ebe efe, "ai treisio y frenines hefyd y mae efe gyda mi yn y tŷ? Yr oedd pwyslais marwol ar y geiriau "gyda mi;" "a dreisia efe y frenines ger fy mron i? Beth! a fedrai efe gyflawni y fath ysgelerder, a minau yn sefyll ac yn edrych arno?" O Syrs, pechu yn ngolwg Duw, gwneyd drygioni dan sylw Duw, sy beth ag y mae efe yn edrych arno fel y sarhad mwyaf, ac megys yr anmharch uchaf ag sy bosibl ei wneyd iddo. Beth! (medd efe) a feddwi di ger fy mron i? a wnai di regi a chablu ger fy mron i? a fyddi di yn drythyll ac yn aflan ger fy mron i? a fyddi di yn annghyfiawn ac yn anuniawn dan fy sylw i? a halogi di fy Sabbothau? a lygri di fy ordinhadau ger bron fy wyneb? a ddirmygi, ac a erlidi di fy ngweision yn fy ngwydd? Mae hyn yn chwanegiad marwol ar bob pechod, ei fod yn cael ei wneuthur yn ngwydd Duw, ei fod yn cael ei gyflawni yn mhresenoldeb breninol Brenin y breninoedd; lle y dylai ystyriaeth o hollbresenoldeb Duw

ein harfogi yn gadarn yn erbyn pechod a Satan; dylai yr ystyriaeth o'i holl-weledig sylw beri i ni ochelyd rhag pob achlysuron i bechu, ac i'n gwneyd yn annghyfeillgar â phob ymddangosiadau o hono. A gaiff llygad yr athraw gadw yr ysgolhaig rhag duo ei adysgrifen (*copy*)? a gaiff llygad y barnwr gadw y drwg-weithredwr rhag yspeilio a lladrata? a gaiff llygad y meistr gadw y gwas rhag segura ac ofera? a gaiff llygad y tad gadw y plentyn rhag crwydro a rhodianna? a gaiff llygad y gwr gadw y wraig rhag gwastraff ac anweddeidd-dra? a gaiff llygad craff Cato ddoeth, neu lygad cyflym cymydog agos, neu lygad llym cyfaill mynwesol, dy gadw di rhag ysgelerderau a gorwagedd? ac oni chaiff llygad manwl eiddigeddus y Duw holl-weledig dy attal rhag pechu yn yr ystafell ddirgel, pan y mae pob lleni wedi eu tynu, drysau wedi eu bolltio, a phawb yn y tŷ yn eu gwelyau, neu o dre', ond tydi a'th Ddalilah? O!'r fath ddidduwiaeth ofnadwy sydd yn rhwym yn nghalon y dyn hwnw, ag sydd arno fwy o ofn llygad ei feistr, ei fugail, ei blentyn, neu ei was, nag o ofn llygad a phresenoldeb y Duw tragwyddol. O! na wnai pawb ag y perthyn hyn iddynt, gymeryd y fath sylw dwys arno, fel ag i farnu eu hunain yn llym am dano, i wylo yn chwerw drosto, ac i ymdrechu yn nerthol â Duw mewn gweddi am faddeuant o hono, ac hefyd am nerth yn ei erbyn.

Mae yr apostol yn mawr gwyno am rai yn ei ddyddiau ef ag oedd yn ymdroi mewn pechodau dirgel. Eph. v. 12: "Canys brwnt yw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel." Mae efe yn llefaru am y cyfryw oedd yn byw mewn anlladrwydd ac aflendid dirgelaidd. Yr oedd llawer ag oedd wedi cymeryd arnynt ffurf duwioldeb, yn goddef eu hunain mewn dirgel weithrediadau o ddrygioni a ffieidd-dra ysgeler, fel pe na buasai yr un Duw idd eu gweled, yr un gydwybod idd eu cyhuddaw, yr un dydd barn idd eu gwneyd yn euog, yr un Cyfiawnder idd eu condemnio, nac yr un uffern idd eu poenydio. O! pa mor dra ffiaidd raid fod y rhai hyny yn ngolwg y

Duw santaidd, y rhai a allant ei fawr garu a'i gyfarch yn y cyhoedd, ac eto ydynt mor hyf a'i gynhyrfu yn ei wyneb yn y dirgel; mae y rhai hyn yn debyg i'r puteiniaid hyny a hònant agosrwydd a pharch mawr idd eu gwŷr oddicartref, ac eto pan gartref a buteiniant o flaen llygaid eu gwŷr.

Y cyfryw a gyflawnant ddyledswyddau crefyddol yn unig i orchuddio a lliwio eu haflendid dirgelaidd, eu drygioni dirgelaidd; y cyfryw a gymerant arnynt dalu eu haddunedau, ac eto a ddysgwyliant am y cyfnos; y cyfryw a weithredant ddrygioni mewn congl, ac eto gyda'r butain y sychant eu safn, gan ddywedyd, "Beth a wnaethom?" y cyfryw a gânt yn y diwedd yr ystafelloedd, y ceryg o'r mur, y trawstiau o'r coed, y meinciau yr eisteddant arnynt, a'r gwelyau y darfu iddynt orwedd arnynt, i dystio yn erbyn eu holl gellwair anllad, a'u hymddygiadau trythyll yn y dirgel. Heb. xiii. 4: "Eithr puteinwyr a godinebwyr a farna Duw." Gwna eu barnu hwy ei hun; a phaham? ond oblegid fod y cyfryw bechaduriaid yn ymddwyn mor ddirgel a chyfrwys, fel yn aml na ddichon neb ond Duw eu cael allan. Mae'r Heddynaid yn aml yn esgeulusaw cospi y cyfryw bechaduriaid pan wneir eu drygoni dirgel yn amlwg; ac am hyny gwna Duw ei hun eistedd mewn barn arnynt. Er iddynt allu dianc rhag sylw dynion, eto ni ddiangant byth rhag barn Duw. Nid yw anwireddau y galon yn syrthio dan farn ddynol. Mae puteinwyr a godinebwyr yn gyffredin yn ddichellgar, dirgel, a chyfrwys ryfeddol i gelu eu ffiaidd aflendid; ac am hyny y gelwir y butain yn ddichellgar o galon, Diar. vii. 10. Yn Hebraeg, gan Rabbi Solomon, a gyfieithir *munito corde*, a'i chalon wedi ei hamgau; "canys, eb efe, megys y mae dinas wedi ei hamgylchu ag amddiffynfeydd, felly y mae ei chalon hithau wedi ei hamgylchu o amgylch â chyfrwysdra:" neu eilwaith, gallai gael ei gyfieithu *occlusa corde*, "o galon gauedig, mor gauedig a dinas warchaedig, hyny yw, y mwyaf cudd yn nghyf-

rwysdra ei chalon: pa mor agored bynag fyddo hi yn eofndra ei hymddygiad allanol." Felly yr oedd y prophwyd Agur yn cyfrif ffordd dyn gyda morwyn, a ffordd merch odinebus, yn mhlith y pethau hyny y rhai nad oedd efe, a neb rhyw ddyn arall, yn abl i'w hadwaen neu eu cael allan; ac y mae yn ei gymharu i ffordd tri pheth, y rhai nad oedd un dyfais na diwydrwydd dynol yn alluog idd eu dirnad; ond eto mae Duw yn canfod yr oll, a dyg hwynt o flaen y frawdle am yr oll. Ond,

(2.) Ystyriwch, y bydd i bechodau dirgel gael eu dwyn i'r amlwg. Gweithredoedd mwyaf cuddiedig y tywyllwch a amlygir ar gyhoedd: canys er i bechod gael ei gyflawni yn y tywyllwch, er hyny caiff pechod ei farnu yn y goleu. Luc viii. 17: "Canys nid oes dim dirgel, a'r ni bydd amlwg; na dim cuddiedig, a'r nis gwyddyddir, ac na ddaw i'r goleu." Enllibau yr Iuddewon am ddichellion swynol Crist a'i apostolion; celwyddau dychrynllyd y paganiaid, mewn amser a amlygir. Preg. xii. 14: "Canys Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynag *fyddo* ai da ai drwg." Nid yw efe yn dywedyd rhai, ond pob gweithred, ac nid yn unig gweithred, eithr dirgelion; nid yn unig dirgel, ond pob dirgelion; ac nid yn unig pethau da dirgel, eithr drwg hefyd, pa un ai gweithredoedd da neu weithredoedd drwg, pa un ai dirgel ai cyhoedd, rhaid i'r oll gael eu dwyn i'r farn. Caiff llyfr hollwybodaeth Duw a llyfr cydwybod dyn eu hagoryd y pryd hyny, ac yna bydd pechodau dirgel mor ddarllenadwy yn y talcen a phe buasent wedi eu hysgrifenu ar haul-belydrau disgleiriaf ar fur grisialaidd. Mae holl bechodau dirgel dynion yn argraffedig yn y nefoedd, a gwna Duw yn y diwedd eu darllen ar gyhoedd i'r holl fyd. 1 Cor. iv. 5: "Am hyny na fernwch ddim cyn yr amser, hyd oni ddelo yr Arglwydd, yr hwn a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglura fwriadau y calonau." Ac megys y mae lluoedd aneirif o wybed a brychau yr yr *air*, y rhai nad ydym byth yn eu canfod nes

i'r haul dywynu; felly y mae miloedd o feddyliau balch, meddyliau aflan, meddyliau bydol, meddyliau maleisus, meddyliau cynfigenus, a meddyliau gwaedlyd, y rhai na chanfu ac na adnabu y byd; eithr yn y dydd mawr, pan ddatguddir bwriadau y calonau, yr oll a ymddengys i'r byd uwchaf a'r isaf hefyd. Yn y dydd mawr, cymerir ymaith bob ffugiau, mygydau, a chwcyllau, ac yna caiff yr oll ymddangos, yr oll a ddarfu i ti erioed ei gyflawni yn yr ystafell ddirgel, mewn congl ddirgel, a gaiff ei amlygu i ddynion ac angylion, ïe, i holl lys y nefoedd, ac i'r holl fyd hefyd. Rhuf. ii. 16: "Yn y dydd y baro Duw ddirgelion dynion trwy Iesu Grist." Yn y dydd mawr hwn barna Duw nid yn unig ein gweithredoedd cyhoeddus, eithr ein gweithredoedd a'n ffyrdd dirgel hefyd. Wedi marw Jehoiacim, cafwyd nodweddiadau, arwyddion coelgrefyddol, ac argraffiadau ei swyngyfareddau ar ei gorff; yr hyn sydd yn dangos mor ddwfn yr oedd eilunaddoliaeth wedi gwreiddio yn ei galon, gan ei fod yn dwyn y nodau hyn yn ei gnawd: dros yspaid ei fywyd, yr hwn ac ef yn frenin a ymddygodd yn odidog, ac a gadwodd y cwbl yn nghudd, eithr pan fu farw, daeth yr oll allan, yna yr ymddangosodd nodau ei ffiaidd eilunaddoliaeth ar ei gorff: er y dichon y mwyaf o bechaduriaid guddio a chadw ei ffieidd-dra erchyll am dymhor, eto daw amser pan ymddangoso yr oll, pan y byddo eu holl nodau dirgel, a'u ffieidd-dra dirgel yn amlwg i'r holl fyd.

Eithr dichon pechaduriaid wrthddadleu, a dywedyd, "Gadewch ni yn llonydd yn ein pechodau dirgel hyd y dydd hwnw, ac yna ni a wnawn o'r goreu." Ac am hyny,

(3.) Ystyriwch, fod Duw yn aml, ïe, yn y byd hwn, yn datguddio ac yn amlygu i'r byd bechodau cuddiedig dynion.

Mae Duw yn caru gweithredu yn gyfatebol i'w enwau: yn awr, datguddydd dirgeledigaethau yw un o'i

enwau, Dan. ii. 27, ac yn ganlynol, ïe, yn y byd hwn, y mae yn aml yn dwyn i'r goleu ddirgelion mwyaf y tywyllwch. O holl briodoliaethau gogoneddus Duw, nid oes yr un yn dyoddef mor fawr oddiwrth bechodau dirgel, a'r briodoledd o hollwybodaeth; ac am hyny y mae Duw yn aml yn y byd hwn yn sefyll i fyny i amddiffyn anrhydedd y briodoledd hòno trwy ddynoethi pechaduriaid, a thrwy ddwyn i'r goleu yr holl lwybrau a'r ffyrdd hyny o ddrygioni, yn mha rai y darfu iddynt yn hir rodio heb gael eu dynoethi. Er anrhydedd y briodoledd fendigedig hon o eiddo Duw, y cafodd pechod dirgel cydfradwriaethol Annanias a Saphira ei ddynoethi mor amlwg. "A bu ofn mawr ar yr holl eglwys, ac ar bawb oll a glybu y pethau hyn." Darfu i frodyr Joseph am dymhor maith guddio eu malais, eu dichell, eu creulondeb, eu cenfigen, a'u bradwriaeth, yn ngwerthiad eu brawd i'r Aifft; ond o'r diwedd, trwy ryfeddol ragluniaeth, dygwyd yr oll i'r amlwg. Dichon cydwybod am dymhor ymddangos fel yn cysgu, eto mewn amser hi a ddeffru, ac a wna i'r pechadur wybod, wrth iddi gyhuddaw, ei bod i'w harswydo, a hyn a wybu brodyr Joseph trwy brofiad gresynol. Felly Gehazi, efe a bechodd yn ddirgelaidd, efe a ddywedodd gelwydd yn erchyll, ac wedi hyny amddiffynodd ef yn haerllyg, ond o'r diwedd daeth yr oll allan, ac yn lle cael ei ddilladu yn orwych, cafodd ei ddilladu â gwahanglwyf, ac yn lle dau bâr o ddillad, crogodd Duw ef i fyny mewn cadwynau, megys yn goffadwriaeth o'i lid i'r holl genedlaethau. Felly dygodd Achan yn ddirgelaidd ac yn gysegr-ladradaidd fantell Fabilonaeg dêg, a dau can' sicl o arian, a llafn aur yn hanner can' sicl ei bwys, ac a'u cuddiodd yn y ddaear yn nghanol ei babell, ac am hyn ffodd Israel o flaen eu gelynion, eithr yn y diwedd cymerwyd Achan, a daeth y cwbl i'r amlwg, a'i lafn aur a dröodd yn llafn i'w ddryllio, a'i fantell Fabilonaidd yn fantell i'w amwisgo: gwnaeth Josuah danllwyth o'r hyn oll a ddygodd yn ddirgelaidd ac yn bechadurus, ac a'i llosgodd ef a'i blant a'r oll a feddai

ynddi. O! mor gyhoeddus, mor llym-dost y mae Duw weithiau yn cospi dynion am eu hanwiredd dirgelaf. Gellwch ganfod yr un peth yn yr anghraifft fawr hòno o eiddo Dafydd. 2 Sam. xii. 9—12: "Paham y dirmygaist air yr Arglwydd, i wneuthur drwg yn ei olwg ef? Urïas yr Hethiaid a darewaist ti â'r cleddyf, a'i wraig ef a gymeraist i ti yn wraig (gwnaethpwyd hyn trwy lythyr dirgelaidd). Yn awr gan hyny, nid ymedy y cleddyf â'th dŷ di byth; o herwydd i ti fy nirmygu i, a chymeryd gwraig Urïas yr Hethiaid i fod yn wraig i ti. Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele! myfi a gyfodaf i'th erbyn ddrwg o'th dŷ dy hun, a myfi a ddygaf dy wragedd di yn ngwydd dy lygaid, ac a'u rhoddaf hwynt i'th gymydog, ac efe a orwedd gyda'th wragedd di yn ngwydd yr haul hwn. Er i ti wneuthur mewn dirgelwch, eto mi a wnaf y peth hyn gerbron holl Israel, a cherbron yr haul." Yr oedd Dafydd yn astud ac yn llafurus iawn i guddio ei bechod, ac i gadw ei enaid; ond yr oedd y gorchudd a wnawd o waed Urïas yn rhy fyr, ac yn rhy gul i guddio ei ynfydrwydd gyda Bethsheba, ac am hyny wedi iddo wneyd yr oll a allai, cafodd ei bechod ei daflu fel pêl, o ddyn i ddyn, trwy lys, dinas, a gwlad.

Mi a ddarllenais am un Parthenius o lofrudd, trysorydd i Theodobert, brenin Ffrainc, yr hwn, wedi iddo ladd yn fradychus ryw gyfaill neillduol iddo, a elwid Ausanius, gyda'i wraig Papianilla, pan nad oedd neb yn ei ddrwg-dybio na'i gyhuddaw o hono, efe a ddynoethodd ac a gyhuddodd ei hun yn y dull dyeithr hyn: Fel ag yr oedd yn cysgu yn ei wely, yn ddisymwth bloeddiodd allan yn druenus iawn, gan waeddi am gymhorth, onidê ei fod yn trengu; a phan ofynwyd iddo beth oedd y mater, yn hanner cysgu efe a atebodd, "Fod ei gyfaill Ausanius a'i wraig, y rhai a laddodd efe er ys amser yn ol, yn ei wysio i farn ger bron Duw:" ar yr hwn gyfaddefiad efe a ddaliwyd, ac wedi ymholiad dyladwy, a labuddiwyd i farwolaeth: fel hyn y gwnaeth braw a dychrynfeydd ei gydwybod ei hun, ddynoethi yr ysgelerder

dirgelaidd hwnw, yr hwn na allasai neb ei brofi yn ei erbyn.

Mi a ddarllenais pa fodd y gwnaeth y Twrc mawr Mahomed, â gwobr fawr, fynu dau o Dwrciaid i ymgymeryd at ladd Scanderbeg; daeth y ddau fradwr hyn at Scanderbeg gan wneyd y fath ymddangosiad o ffieidd-dra llywodraeth ormesol Mahomed, a'i goelgrefydd wag, fel y darfu iddynt eu dau gael eu cyfrif, gan Scanderberg ac ereill, yn ddynion da; ac wedi iddynt ddysgu egwyddorion y grefydd Gristionogol, cawsant, wrth eu dymuniad eu hunain, eu bedyddio ill dau. Yn fuan wedi hyny, drwy ryw ragluniaeth, dygwyddodd i'r ddau fradwr hyn amrafaelio â'u gilydd, drwy yr hyn y cafodd y bradwriaeth ei ddynoethi; ac wedi ymholiad a chyfaddefiad dyladwy o'r weithred, cawsant ill dau yn y fan eu condemnio a'u dienyddio.

Cydwybod yw yspïwr Duw yn y fynwes, ac megys ysgrifenydd a chofrestrydd, y mae yn eistedd yn ystafell eich calonau â phin mewn llaw, ac yn gwneyd cofnodiad o'ch holl ffyrdd dirgel, a'ch troseddau dirgel, y rhai sydd uwchlaw gwybodaeth dynion. Y mae cydwybod yn gosod i lawr yr amser pa bryd, y man pa le, y dull pa fodd, a'r personau gyda pha rai y cyflawnwyd y fath a'r fath ddrygioni dirgel, a hyny mor amlwg ac eglur fel, er myned o honot lle y mynoch, a gwneyd yr hyn a ellych, ni chaiff eu llythyrenau byth mo'u dileu na'u crafu ymaith nes yr ymddangoso Duw mewn barn. Gwnaed dyn bechu yn yr ymneillduad dirgelaf ag a ddichon cyfrwysdra dynol ei ddyfeisio; gwnaed bob ffordd a allo i gelu ei bechodau, i'w mantellu, a'u cuddio, fel y gwnaeth Adda; eto gwna cydwybod felly farnu fel ag y dwg i mewn y tyst, y cyrcha yn mlaen y ddeddf, y gyra y gosp, ac y cyraedda y ddedfryd gondemniol arno. Y mae llawer dyn ag sydd yn gwneyd proffes hardd, ac iddo enw mawr yn y byd, eto yn hunan-gondemniedig am y pechodau dirgel hyny ag nad ydynt yn weledig i lygaid dyn, nac yn gospadwy gan gyfreithiau na dwylaw

dynion; ïe, yn aml yn y byd hwn y mae Duw yn cyfodi y fath uffern o fraw a dychryn yn nghydwybodau dynion oddiar yr ystyriaeth o'u pechodau dirgel, fel nad ydynt yn gallu cael gorphwysfa ar wely nac o hono, mewn eisteddiad i lawr na chyfodiad i fyny. Hwy a chwennychant gelu eu pechodau; anfoddlon ydynt i'r byd wybod pa mor wael y darfu iddynt fod yn y dirgel; ond gan fod cydwybod ar yr arteithglwyd, yn cnoi, yn cyhuddo, ac yn condemnio yn barhaus, ni allant ddal yn hwy; yn awr rhaid i'r oll ddyfod allan; a'r pechodau hyny ag oedd yn fwyaf cuddiedig a cheledig, a ddaethant i gael eu cyhoeddi ar nen y tŷ.

Rhai dan loes cydwybod a darawyd â gwallgofrwydd, a llawer hyd yn nod yn eu cwsg a fuant yn gyhoeddwyr o'u haflendid a'u drygioni dirgel eu hunain. Yn yr amgylchiadau hyny, gwnaeth Duw i lawer pechadur dirgel waeddi allan gyda'r gwahanglwyfus, "Aflan, aflan;" a chyda Judas, (ger bron pawb,) "Pechais, pechais." Llawer gwaith yn y bywyd hwn, y darfu i Dduw mewn modd rhyfeddol ddynoethi y gweithredoedd dirgel hyny o eiddo y tywyllwch yn mha rai y darfu i ddynion hir drigo ynddynt heb eu dynoethi.

Gwnaeth Pythagoriad brynu pâr o esgidiau ar goel, a bu y crydd farw, ac yr oedd yn dda ganddo yntau hyny, gan feddwl eu bod wedi eu hennill; ond yn mhen ychydig wedi hyny rhuthrodd ei gydwybod arno, a daeth yn boenydiwr parhaus iddo; ar hyn efe a aeth i dŷ y marw, gan daflu i mewn ei arian gyda'r geiriau hyn, "Dyna, cymer dy eiddo, yr wyt yn fyw i mi, er dy fod yn farw i bawb ereill." Ond,

(4.) Ystyriwch, fod pechodau dirgel, ar ryw olygiadau, yn fwy peryglus na phechodau cyhoeddus. Y mae llawer dyn yn gwaedu i farwolaeth yn dufewnol, ac nid oes neb yn ei weled. Pa fwyaf tufewnol a chuddiedig fyddo y clefyd, mwyaf oll yw y dyn mewn perygl o golli ei fywyd. Nid oes dim twymynau mor beryglus a'r rhai hyny sydd yn anrheithio yr ysbrydoedd a'r rhanau

tumewnol; felly nid oes dim pechodau mor beryglus a niweidiol i eneidiau dynion ag yw y rhai hyny ag sydd fwyaf tumewnol a chuddiedig. Y mae pechodau dirgel yn llywodraethu yn eneidiau dynion yn nerthol iawn, pan y maent leiaf mewn ymddangosiad.

Yn 1. Ystyriwch, fod yr hwn sydd yn pechu yn ddirgel, yn difuddio ei hun o'r cynorthwyon a'r gwelliadau hyny, y rhai, dan ddwyfol fendith, a allai ei arfogi yn erbyn pechod; ïe, a'i wneyd yn fuddugoliaethus ar bechod; sef gweddïau, cynghorion, ceryddon, siamplau ac annogaethau cyfeillion, perthynasau, &c. Dichon tân fod mewn tŷ dyn a'i gyfeillion heb wybod; ond pan ei gwybydder, y mae pob llaw yn barod i gynorthwyo. Yr hwn sydd yn pechu yn y dirgel, sydd yn cau ei hun allan oddiwrth bob meddyginiaeth gyhoeddus, ac yn cymeryd poen mawr i ddamnio ei enaid ei hun, ac i fyned i uffern yn y tywyllwch. Ond,

Yn 2. Gwna pechodau dirgel y ffordd i bechodau cyhoeddus. Yr hwn nad yw yn gwneyd dim cydwybod o bechu yn yr ystafell ddirgel, a fydd cyn hir, gydag Absalom, yn barod i daenu pabell ar nen y tŷ i fyned i mewn at ei ordderchadon yn ngolwg holl Israel. Y cyfryw na wnaethant ddim cydwybod o ladrata ychydig binau neu geiniogau, neu ychydig sylltau yn y dirgel, mewn amser a ddaethant mor eofn ag i gymeryd côd ar y ffordd ar ganol dydd. Rhaid mathru yr asp yn yr wy, neu ynte bydd iddi yn fuan ddyfod yn sarff. Gwna chwant pechod dori allan i weithrediad, gweithrediad i ymarferiad, ac yna y mae y corff a'r enaid wedi eu colli yn anadferadwy i bob tragwyddoldeb, os nad edifarheir o'i herwydd.

Os dichon Satan ond clwyfo ein sawdl, (fel y dychymygodd y prydyddion am Achilles) gwna ymdrech dêg i anfon marwolaeth o'r sawdl i'r galon. Os dichon y sarff gyfrwys hon ymnyddu ei chynffon drwy feddwl drwg, dichon yn fuan roddi ei phen i mewn drwy weithred waeth. Oddiyma y geilw Crist genfigen yn lleidd-

iad, a llygad chwantus yn odineb. Llid dirgel sydd yn aml yn dybenu mewn llofruddiaeth, a chip golwg chwennychol y llygad sydd yn aml yn esgor ar odineb gweladwy. Os yw Amnon yn sâl gan feichiogiad pechadurus o chwant llosgadwy, bydd ei enaid mewn poen a gwewyr nes yr esgoro. A pha gynifer sydd ag a ddarfu yn y dirgel gymeryd yn awr ac yn y man ond un cwpanaid yn fwy na digon, sydd yn awr idd eu gweled ar ganol dydd yn rhygyngu yn erbyn pob post. Ac megys y gwna afiechyd dirgel yn y corff (os na feddyginiaethir) mewn amser dori allan i'r amlwg, felly y bydd i bechodau dirgel yn yr enaid (os na wneir eu maddeu a'u puro) mewn amser gael eu datguddio yn amlwg. Cybydd-dod oedd pechod dirgel Judas, a phan y gwnaeth achlysur neu brofedigaeth bresenoli ei hun, mor fuan a pharod oedd efe i fradychu ei Arglwydd a'i Feistr am ddeg-ar-hugain o ddarnau arian o flaen yr holl fyd! "Chwant wedi ymddwyn a esgor ar bechod." Y mae gan bechod ei feichiogiad, a hyny yw hyfrydwch; ac yna ei ffurfiad, a hyny yw bwriad; ac yna ei esgoreddiad, a hyny yw gweithred; ac yna ei gynydd, a hyny yw ymarferiad; ac yna ei orpheniad, a hyny yw damnedigaeth. Ond,

Yn 3. Pechu dirgel sydd yn gosod llawer mwy o barch ac ofn ar ddynion nag ar Dduw. Tydi a fyddi yn annghyfiawn yn y dirgel, yn drythyll yn y dirgel, ac yn aflan yn y dirgel, a phaham? Ond oblegid dy fod yn ofni i'r cyfryw a'r cyfryw gyfeillion ddyfod i wybod! O ddyn truenus! a wyt yn ofni sylw dyn yr hwn a drenga, a mab dyn yr hwn a wneir fel glaswelltyn? ac eto ni ddychryni dan ei sylw Ef, "yr hwn sydd a'i lygaid fel fflam dân, yn llym ac ofnadwy, fel ag i dreiddio i gelloedd y bol?" O! mor llawn o ddidduwiaeth yw calon y dyn hwnw sydd yn dywedyd yn ddystaw, "Pe byddai fy mhechodau ond yn guddiedig o olwg y byd, nid wyf yn prisio er i'r Arglwydd eu gwybod, er i'r Arglwydd eu manwl nodi, er i'r Arglwydd osod nôd *arnynt*, a *gwneyd* cofnodiad o honynt." Pa beth yw

hyn, O ddyn! temtio Duw, a'i gyffroi Ef yn ei wyneb, yr hwn sydd yn oleuni, ac nad oes ynddo ddim tywyllwch? Ah! bechadur, bechadur, a ddichon dyn dy ddamnio? a ddichon dyn dy ddifeddiannu? a ddichon dyn lanw dy gydwybod âg ofnau a dychrynfeydd? a ddichon dyn wneyd dy fywyd yn uffern? a ddichon dyn folltio pyrth gogoniant yn dy erbyn? a ddichon dyn dy anfon i'r bedd â gair o'i enau? ac wedi y cwbl, a ddichon dyn dy daflu i boenau tragwyddol? O na. A ddichon Duw wneyd hyn oll? O dichon! Paham ynte nad yw dy galon yn arswydo mwy rhag sylw y Duw mawr nag yw rhag sylw dyn tylawd, eiddil, a marwol?

Mi a safais yn hwy ar y pen hwn, oblegid nad oes dim yn attal cymundeb dirgel â Duw a gweddi ddirgel, yn fwy na phechodau dirgel. Ac O! na wnaech ef eich gorchwyl mawr i wylio yn erbyn pechodau dirgel, a gweddïo yn eu herbyn, a galaru am danynt, ac i farnu a chondemnio eich hunain yn ddwys am bechodau dirgel, ac yn ofalus a chydwybodol ffoi a gochelyd pob achlysuron a chynhyrfiadau ag a ddichon fod megys tanwydd iddynt.

Yn ddiau, nid oes neb gwŷr na gwragedd mor gywir ac ystyriol mewn ystafell weddi, neu mor aml, mor wresog, mor astud mewn ystafell weddi, mor ymddigrifol a diflin a'r rhai hyny ag sydd yn cadw eu hunain buraf a rhyddaf oddiwrth bechodau dirgel.

(5.) A chofia hyn, er fod pechodau dirgel, mewn rhyw ystyriaethau, yn fwy peryglus na phechodau ereill, eto mewn tri golygiad nid ydynt mor niweidiol a pheryglus ag yw pechodau ereill:

Yn 1. Am nad ydynt yn gwaradwyddo crefydd megys y gwna pechodau cyhoeddus.

Yn 2. Am nad ydynt yn cywilyddio, gofidio, ac archolli calonau y saint, megys y gwna pechodau cyhoeddus.

Yn 3. Am nad ydynt mor llygredig i ereill, nac mor gynhyrfiadol i ereill, i bechu yn erbyn yr Arglwydd, ag yw pechodau cyhoeddus.

Ac fel hyn y gellwch weled pa beth yw y pethau hyny sydd raid i chwi ochelyd yn ofalus rhagddynt, os byth yr ewyllysiwch ymroddi i ystafell weddi.

XII. Megys y mae yn rhaid i chwi ochelyd y pum' peth a enwyd, felly y mae amrywiol o bethau sydd raid i chwi yn ofalus ac yn gydwybodol ymosod atynt, os byth yr ewyllysiwch fod yn ffyddlon a diwyd yn y ddyledswydd fawr hon o ystafell weddi.

1. Galerwch yn fawr ac wylwch yn chwerw am yr esgeulusiad o'r ddyledswydd ragorol hon. Yr hwn nad yw yn gwneyd cydwybod o alaru am esgeulusiad y ddyledswydd hon, ni wna ychwaith byth gydwybod o'i chyflawni. O! na bae eich pen yn ddyfroedd, a'ch llygaid yn ffynnon o ddagrau, fel yr wylech ddydd a nos am yr esgeulusiad mawr o ystafell weddi. Yr hwn sydd yn galaru fwyaf am yr esgeulusiad o'r ddyledswydd hon a geir fwyaf yn yr ymarferiad o honi. Dywedir am Adda, iddo droi ei wyneb tua gardd Eden, ac o'i galon alaru yn chwerw am ei gwymp erchyll. O! na wnaech chwithau droi eich hwynebau tua'ch hystafelloedd, ac wylo yn chwerw am eich anamledd fynediad iddynt.

2. Ymarferwch âg ystafell weddi; gwnewch weddi ddirgel eich gwastadol farsiandiaeth. Y mae mynychder yn cenedlu cynefindra, a chynefindra eofndra. Ni a allwn fyned i dŷ y cyfaill hwnw yr hwn yr y'm yn ei aml ymweled. Yr hyn yr ydym wedi ymarferyd âg ef, a allwn ei wneyd gydag esmwythder a hyfrydwch. Dyn ag sydd wedi ymarferyd i ddarllen, i ysgrifenu, i farchogaeth, i redeg, neu i chwareu ar yr offeryn cerdd hwn neu arall, &c., y mae yn ei wneyd gydag esmwythder a hyfrydwch; ac felly dyn ag sydd wedi ei ymarferyd ei hun i ystafell weddi, a'i cyflawna gydag hyfrydwch ac esmwythder.

3. Cedwch ddydd-lyfr o'ch holl ystafell brofiadau; cofrestwch a llyfrwch yn ofalus eich holl ystafell drugareddau; aml ddarllenwch drosodd, a myfyriwch ar eich ystafell brofiadau. Nid oes un ffordd debyg i hon i

enyn a rhwymo eich calonau yn y fasnach ddirgel hon o weddi ddirgel.

O! cofiwch mai ar yr amser a'r amser yr aethoch i'ch hystafelloedd â chalonau celyd a llygaid sychion; ond cyn i chwi ddyfod allan, mor beraidd, mor efengylaidd, mor nerthol y'ch toddwyd ac y'ch darostyngwyd gerbron yr Arglwydd; a chofiwch pa fodd, bryd arall, yr aethoch i'ch ystafelloedd yn gymylog ac yn nosawg, ond a ddaethoch allan â'r fath ogoneddus dywyniad o eiddo Duw ar eich heneidiau, ag a gafodd Moses ar ei wyneb, pan ddaeth i lawr o'r mynydd o gymdeithasu â Duw. O! cofiwch mor aml yr aethoch i'ch hystafelloedd âg ysbrydoedd oerion a rhewedig, eithr cyn i chwi ddyfod allan, O!'r fath dân a enynodd Duw yn eich heneidiau; a chofiwch mor aml yr aethoch i'ch hystafelloedd wedi eich cyfyngu a'ch cau i fyny, pa fodd y gwnaethpwyd eich heneidiau fel cerbydau Aminadab. Cofiwch y nerth a roddodd Duw i chwi yn erbyn llygredigaethau, a pha rym a roddodd i chwi yn erbyn temtasiynau yn eich hystafelloedd. A chofiwch yr amlygiadau melus o ddwyfol gariad, yr ymweliadau dirgel, a'r cariad-arwyddion dirgel a roddodd Crist i chwi yn eich hystafelloedd. Dwys fyfyriwch ar y pethau hyn, ac yna bydd dyledswyddau ystafellol yn felus genych. Dywediad hyfryd o eiddo Bernard ydoedd, "O sant! oni wyddost fod Crist dy briod yn wylaidd, ac na fydd yn gyfeillgar mewn cymdeithas; ymneilldua drwy fyfyrdod i'th ystafell neu i'r maesydd, ac yno ti a gei gofleidiadau Crist." *Meditatio nutrix orationis*,—Myfyrdod yw mammaeth gweddi. Dywed Pliny wrthym am un Messala Corvinus, yr hwn yr oedd ei gof mor ddrwg fel yr annghofiodd ei enw ei hun. Ac yr wyf finau yn ofni am lawer o honoch fod eich cof mor ddrwg, fel ag yr ydych yn annghofio eich trugareddau ystafellol, a'ch profiadau ystafellol.

Mi a ddarllenais am fath o glefyd heintus yn Athen, ag a gymerodd ymaith gof y rhai hyny ag yr ymaflodd

ynddynt, fel ag yr annghofiasant eu henwau eu hunain. O! na bawn heb un achos i ofni fod rhyw afiechyd heintus neu gilydd wedi cymeryd ymaith felly gof llawer, fel ag y darfu iddynt lwyr annghofio eu hystafell brofiadau. Wel, gyfeillion, cofiwch hyn,—er fod calonau celyd yn ddrwg, eto y mae cof haiarnaidd yn dda; ac O! na wnaech oll lafurio am gof haiarnaidd, fel y galloch gofio a myfyrio ar eich profiadau ystafellol. Mi a ddarllenais am y Paganiaid, y modd yr oeddynt yn defnyddio cerig gwỳnion a duon i'r ddau ddyben hyn,—yn gyntaf, gwnaent eu rhoddi i ddynion ar eu cyhuddiad o flaen y Barnwyr; os euogfernid hwynt i farw, rhoddent iddo gareg ddû; ond os gwnaid eu gollwng a'u rhyddhau, careg wèn. At yr arferiad hon, mae yn debygol, y cyfeiria yr Ysbryd Glân yn Dat. ii. 17: "I'r hwn sydd yn gorchfygu, y rhoddaf iddo gareg wèn." Yr ail ddefnydd o'r cerig hyn oedd hyn,—sef, y gallent drwyddynt gadw cyfrif o'r holl ddiwrnodau da a drwg a gyfarfu â hwynt yn eu bywyd. Oddiyma y gwnaeth Giacopo Senzaro, wedi bod yn hir yn caru, a chael ei groesi yn fawr yn nghylch ei fwriad-wraig, lanw lloned llestr o gerig duon, gan roddi ond un gareg wèn yn eu plith; a phan ofynwyd iddo y rheswm, efe a atebodd, "Fe ddaw un dydd gwỳn, (gan feddwl ei ddydd priodas,) yr hwn a dâl am fy holl ddyddiau duon."

Ah! gyfeillion, mor aml y rhoddodd Duw i chwi gareg wèn yn eich hystafelloedd. Chwi a gawsoch yn ddiau fwy o gerig gwynion nag o gerig duon; bu eich dyledswyddau a'ch profiadau ystafellol yn amlach na'ch croesau a'ch trueni cyhoeddus. O feistriaid! pe gwnaech ond cyfrif eich dyddiau daionus, yn ol y cerig gwynion a gawsoch yn eich hystafelloedd, syrthiech mewn mwy o gariad â gweddi ystafellol nag erioed. Ond,

4. Byddwch sicr na threulioch gymaint o'ch amser gwerthfawr mewn dyledswyddau ac ordinhadau cyhoeddus, fel na ellwch hebgor dim at ddyledswyddau dirgel. Er i wartheg Pharaoh fwyta y naill y llall, er hyny rhaid

i'r dyledswyddau cyhoeddus beidio bwyta dyledswyddau teuluaidd, a rhaid i ddyledswyddau teuluaidd beidio bwyta dyledswyddau cyhoeddus, ac ni ddylai yr un o honynt fwyta dyledswyddau ystafellol; mae doethineb y Cristion yn dysgleirio yn y modd tanbeidiaf wrth roddi i bob dyledswydd ei hamser a'i lle priodol ei hun; yr oeddwn yn myned i ddywedyd, mai naill nad oedd neb yn Gristion, neu o'r hyn lleiaf neb yn Gristion rhagorol ag sydd oll yn llygad i ddarllen, neu oll yn glywed, neu oll yn dafod i lefaru, neu oll yn lin i blygu, i benlinio, i weddïo. O! pa gynifer sydd ag a dreuliodd gymaint o amser mewn gwrandaw y dyn hwn ac acw, ac mewn rhedeg i fyny ac i waered o gyfarfod i gyfarfod, fel nad oes ganddynt ddim amser i gyfarfod â Duw yn eu hystafelloedd. Ha wŷr, nid yw eich dyledswyddau byth mor hawddgar, glandeg, a phrydferth, a phan y maent yn cael eu cyflawni yn dymhoraidd a threfnus.

Mor gall yw dynion y byd hwn, i drefnu felly eu gorchwylion gwledig fel nad oes un gorchwyl yn cyfyngu ar y llall; maent yn gosod o'r neilldu yspaid cyfaddas o amser at bob gorchwyl; maent yn neillduo awr at un gorchwyl, dwy at un arall, tair at un arall, &c. O! na baem ni mor gall at ein heneidiau, mor gall at dragwyddoldeb, ag ydynt hwy at y byd hwn. Ac i'n calonau gyd-ymgynghori felly â'n penau, fel na bo byth eisieu amser cyfaddas i geisio Duw yn y dirgel. Y diafol, yr hwn sydd yn caru gosod un gwr yn erbyn y llall, un deyrnas yn erbyn y llall, ac un Cristion yn erbyn y llall, sydd yn caru gosod un ordinhad yn erbyn y llall, ac un ddyledswydd yn erbyn y llall: oddi yma y mae ar y naill law yn gweithio rhai i waeddi i fyny weddi gyhoeddus, yn wrthwyneb i weddi ddirgel, ac un arall i waeddi i fyny ddyledswyddau dirgel, yn wrthwyneb i holl ddyledswyddau cyhoeddus; pan y mae pawb Cristionogion yn cael eu cyfarwyddaw i drefnu y naill ryw o ddyledswyddau, fel ag i beidio cau allan ryw arall o ddyledswyddau. Rhaid

i bob Cristion gael allan amser a lle at bob dyledswydd sydd yn orphwysedig arno. Ond,

5. Cerwch Grist â chariad mwy enynol, O! cryfhewch eich cariad at Grist, a'ch cariad at ystafell-ddyledswydd-au. Mae cariadau yn caru yn fawr fod wrthynt eu hun-ain. Pa fwyaf yn ddiau fyddo unrhyw ddyn yn caru yr Arglwydd Iesu, mwyaf oll yr ymhyfryda i fod gyda Christ yn y dirgel. Yr oedd cariad mawr iawn rhwng Jonathan a Dafydd, ac fel yr oedd eu cariad, felly yr oedd eu dirgel gymundeb y naill â'r llall, goreu i gyd oeddynt, pan yn y maes, neu pan yn y dirgel yn nghyd, ac felly y byddai gyda chwi, pe baech ond caru yr Arglwydd Iesu â chariad mwy tanbaid, goreu i gyd fyddai arnoch pan y byddech fwyaf gydag ef yn y dirgel.

Dwyfol gariad sy fel gwialen myrtwydd, yr hon, fel ag y rhydd Pliny hanes, sydd yn gwneyd y teithiwr sydd yn ei dwyn yn ei law mor fywiog a chalonog, fel nad yw byth yn methu nac yn blino. Ah gyfeillion! pe gwnaech ond caru yr Arglwydd Iesu â chryfach cariad, ni wnaech byth ddiffygio na blino ar ddyledswyddau ystafellol. Megys y cychwynodd yr Israeliaid eu pebyll o Mithcah i Hashmonah, o bereidd-dra i gyflymdra (fel yr arwydda y geiriau): felly y gwna pereidd-dra dwyfol gariad i ddyn ysgogi yn gyflymach yn mlaen ar hyd ffordd dyledswydd. Gwna dwyfol gariad bob dyledswydd yn fwy hyfryd a blasus i'r enaid; ac am hyny gwnewch a alloch at gryfhau eich cariad at Grist â gweddi ystafellol.

Yr oedd yn nodadwy yn mhlith y prif Gristionogion, eu bod mor llawn o gariad y naill at y llall, fel y gallent fod mor adnabyddus o'u gilydd mewn hanner awr ag mewn hanner blwyddyn. Pe bae eich calonau ond bod yn llawn o gariad at Grist a dyledswyddau ystafellol, chwi a'i hadwaenech yn well yn fuan, a gwybyddech yn fuan beth y mae cymundeb dirgel â Christ yn ei feddwl. Ond,

6. Penderfynwch, yn nerth Crist, i ymlynu wrth ys-tafell ddyledswyddau yn wyneb pob anhawsderau a di-

galondid a ddichon eich cyfarfod. Dyn o benderfyniad gwanaidd a ennillir â chneuen, ac a gollir âg afal. Gwna Satan, byd, perthynasau cnawdol, a'ch calonau eich hunain, daflu i mewn bethau i wangaloni llawer o honoch mewn ystafell weddi; ond byddwch chwi wedi penderfynu yn gadarn a diysgog i ymlynu wrth eich hystafelloedd, dyweded a gwnaed y byd, y cnawd, a'r diafol yr hyn a allont. Yr oedd Daniel yn ŵr o benderfyniad anorchfygadwy; yn hytrach nag iddo esgeuluso gweddïo yn ei ystafell, cymerai ei daflu i ffau y llewod. O holl ddyledswyddau crefydd, hon, sef gweddi ddirgel, yw yr un y mae Satan yn elyn mwyaf marwol iddi; mewn rhan oblegid ei bod yn ei yspeilio ef o'i fwriadau, ei ddichellion, a'i ddyfeisiadau dirgelaf yn erbyn yr enaid; ac mewn rhan oblegid fod gweddi ddirgel mor foddhaol gan Dduw, ac o'r fath lesâd a budd mawr, ac oblegid nad yw yn gosod yr enaid mor agored i falchder, gwagogoniant, a bydol-glodforedd ag y gwna gweddi yn y synagog; ac am hyny dewisai yn hytrach i ddyn weddïo *fil* o weithiau yn y synagog nag iddo weddïo *un* waith yn ei ystafell; ac am hyny y mae angen arnoch i ddurio eich calonau â phenderfyniad a gwroldeb santaidd, fel, pa demtasiynau a gwrthwynebiadau bynag fyddo i chwi ymladd â hwynt, y byddo i chwi ymlynu wrth ystafell weddi.

Nid oes gwell gwrthglawdd yn nydd y frwydr na phenderfyniad heröaidd y galon cyn dydd y frwydr. Penderfyniadau santeiddiedig sydd yn mawr wanhau a gwangaloni Satan yn ei ymgyrchiadau; y maent yn ei lwfrhau ac yn ei ddigaloni yn fawr yn ei holl ymosodiadau yn erbyn yr enaid. Ni pharhâ y dyn hwnw yn hir yn ei ystafell, yr hwn nad yw wedi penderfynu yn ddiysgog i geisio yr Arglwydd, er i holl alluoedd y tywyllwch wneyd pen yn ei erbyn. Dwyfol wroldeb a santaidd fwriadau a'ch gwna fel mur o bres, fel na ddichon unrhyw saethau ei drywanu; gwnant chwi fel arfogaeth brofedig, fel na ddichon un bwleden niweidio;

hwy a'ch gwnant fel yr angel hwnw a dreiglodd y maen oddiar ddrws y bedd; hwy a'ch nerthant naill ai i symud y mynyddoedd mwyaf o wrthwynebiadau, neu ynte hwy a'ch galluogant i neidio drostynt.

Luther oedd ŵr o benderfyniad cadarn, ac a dreuliodd lawer o amser mewn ystafell weddi; ac yr oedd Nehemia yn un arall o'r cyfryw, yr hwn a gyfarfu â gwrthwynebiad mawr, fel, pe na buasai wedi ei ddurio â phenderfyniad cryf a gwrthnysig, nis gallasai byth ail adeiladu y deml, eithr soddasai yn nghanol ei waith. Yn awr, yr oedd efe yn ŵr am weddi ddirgel, fel y dangosais yn nechreu y traethawd hwn. Pwy yn fwy penderfynol, a phwy yn fwy am weddi ddirgel, na Dafydd? Yr un peth a allaf ei ddywedyd am Paul, Basil, a llawer ereill, y rhai a fuont yn nodedig yn eu cenedlaeth.

O feistriaid! gwna penderfyniadau santeiddiedig am weddi ddirgel, eich cadwyno yn dŷnach wrth weddi ddirgel, nag y cadwynodd penderfyniadau Ulisses ef wrth hwylbren y llong erioed. Penderfyniad rhagorol a gadwodd Ruth i ymlynu wrth ei mam, pan y gwnaeth ei chwaer Orpah ei chusanu a chymeryd ei chenad oddi wrthi. Bydd wedi rhagorol benderfynu am weddi ystafellol, ac yna ymlynu wrthi, pan y mae ereill ond yn unig yn ymgrymu ac yn cymeryd eu cenad oddiwrthi.

Yn ngwlad Salentine, mae son am lŷn sydd yn llawn yn wastad; pe baech yn rhoi i mewn fyth pa gymaint, nid yw byth yn rhedeg drosodd; pe baech yn tynu allan o hono fyth pa gymaint, mae'n llawn yn wastad. Dylai penderfyniad pob Cristion am weddi ystafellol fod fel y llŷn hwn, hyd yr ymyl yn wastad: amser bywyd, amser angeu, deued anrhydedd neu wawd, colled neu ennill, rhyddid neu rwymau, deued yr hyn a ddelo, rhaid i'r gwir foesgar Gristion hollol a sefydlog benderfynu ymlynu wrth ei ystafell. Ond,

7. Llafuriwch am helaethach dywalltiad o'r Ysbryd Glân; canys pa fwyaf o helaethder gaffo unrhyw ddyn o

Ysbryd Duw, mwyaf oll yr ymhyfryda i fod gyda Duw yn y dirgel. Zech. xii. 10: "A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddïau." Adn. 12—14: "A'r wlad a alara, pob teulu wrtho ei hun; teulu tŷ Dafydd wrtho ei hun, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Nathan wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Levi wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Simei wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; yr holl deuluoedd ereill, pob teulu wrtho ei hun, a'u gwragedd wrthynt eu hunain." Nodwch, yn y dyddiau diweddaf, pan fyddo dynion dan dywalltiad helaethach o'r Ysbryd Glân, yna y byddant wedi ymroddi yn fwy i weddi ddirgel. Ni bydd byth y fath weddïo wrthynt eu hunain ag a fydd pan y tywallo yr Arglwydd yn helaeth o'r ysbryd hwn ar ei bobl; yn awr gwna pob un dywallt ei ddagrau a'i enaid ger bron Duw yn y dirgel, i ddangos uniondeb eu calon, ac i ddangos eu cywirdeb yn eu dirgelrwydd; canys, "Y mae hwnw yn gofidio gyda thyst yr hwn sydd yn gofidio heb dyst."

Yn ddiau, pa fwyaf y mae dyn tan dywalliad bendigedig o'r Ysbryd, mwyaf oll y mae yn ymroddi i ddirgel gymundeb â Christ. Mae pob dyn yn fwy neu yn llai gyda Christ yn ei ystafell, megys y mae yn fwy neu yn llai dan eneiniadau yr Ysbryd. Pa fwyaf a gaffo dyn o ysbryd Crist, mwyaf oll y mae yn ei garu, a pha fwyaf oll y mae dyn yn caru Crist, mwyaf oll y mae yn ymhyfrydu bod gydag ef yn unig. Pa fwyaf a gaffo dyn o ysbryd Crist, mwyaf oll y bydd ei galon wedi ymroddi i'w foddloni. Yn awr, nid oes dim yn boddloni Crist yn fwy na gweddïau dirgel ei bobl. Can. ii. 14: "O fy ngholomen, yr hon sydd yn holltau y graig, yn lloches y grisiau, gâd i mi weled dy wyneb, gâd i mi glywed dy lais, canys dy lais sy beraidd, a'th olwg sy hardd." Pa fwyaf a gaffo unrhyw ddyn o ysbryd Crist, mwyaf oll y bydd ei galon wedi ymroddi ar ei ogoneddu a'i ddyrchafu. Yn awr, nid oes dim yn gogoneddu Crist, neu yn ei ddyr-

chafu yn fwy, na gweddi ddirgel; gan hyny, pa fwyaf a gaffo unrhyw ddyn o ysbryd Crist, mwyaf oll y ceir y dyn hwnw mewn gweddi ddirgel.

Ceir lluaws i ddywedyd, y byddent yn fwy yn eu hystafelloedd nag ydynt, oni bae eu bod yn cyfarfod âg amryw o anhawsderau, a gwangalondid idd eu hattal. Ah! gyfeillion, pe caech ond mesur helaethach o'r Ysbryd Glân, ni byddai dim o'r pethau hyn byth yn alluog i attal eich masnach ddirgel â'r nefoedd. Pe caech ond cyfoethocach eneiniad o'r Ysbryd, ni ddadleuech byth fod llew ar y ffordd, oblegid pe bae yno fil o lewod rhyngoch chwi a'ch ystafelloedd, chwi a wnaech naill ai neidio drostynt neu wneyd eich ffordd drwyddynt, fel ag y gallech fwynhau cymundeb â Christ. Ond,

8. Os byth yr ewyllysiech ymlynu wrth weddi ddirgel, byddwch yn aml mewn dwys fyfyrdod ar dragwyddoldeb. O! gwelwch dragwyddoldeb yn sefyll ar ben draw pob gweddi ddirgel, a hyn a'ch gwna i weddïo i'r pwrpas.

O Syrs! pob gorchwyl yr ydych yn ei wneuthur sy rîs i wynfyd neu wae tragwyddol. Pob ysgogiad, pob gweithred o eiddo y bywyd hwn, sy rîs tua thragwyddoldeb. Megys y mae pob cam a gymer y teithiwr yn ei ddwyn yn nes at ben ei yrfa, felly y mae pob cam a gymer dyn yn ffyrdd santeiddrwydd, megys dyledswyddau ystafellol, yn ei ddwyn yn nes at ddiwedd ei yrfa, maent yn ei ddwyn yn nes at wynfyd tragwyddol. Megys y mae pob cam a rydd y pechadur yn ffordd drygioni yn ei ddwyn yn nes i uffern, felly y mae pob cam a rydd y sant yn ffordd santeiddrwydd yn ei ddwyn yn nes i'r nefoedd.

Zeuxis, yr enwog baentiwr, ydoedd mor ofalus a manwl wrth dynu ei holl linellau, fel na adawai yr un darn o'i eiddo i fyned allan i'r byd i gael ei weled gan ddynion, nes y troai ef drosodd a throsodd, gan edrych arno yr ochr hyn a'r ochr arall, i weled a allai ffeindio yr un bai arno; ac wrth ofyn iddo y rheswm paham yr oedd mor gywrain ac mor faith wrth dynu ei linellau, efe a atebodd, "Yr

wyf yn paentio am dragwyddoldeb." O gyfeillion! yr ydym ninau yn gweddïo, darllen, a gwrando am dragwyddoldeb; ac am hyny pa mor ffyddlon a diflino y dylem ni fod yn ein holl ddyledswyddau ystafellol, gan gofio ein bod yn gwneyd hyn oll gyda golwg ar dragwyddoldeb! Gyfeillion, cyn hir rhaid i chwi oll fod yn dragwyddol ddedwydd neu yn dragwyddol druenus; ac am hyny, O! yr achos *mawr* sydd genych i aml gau drysau eich hystafelloedd, a dadleu yn wrol â Duw dros eich heneidiau gwerthfawr anfarwol, ac fel y byddont gadwedig yn nydd mawr yr Arglwydd Iesu. O! gyfeillion, pan y byddo unrhyw rwystrau at weddi ddirgel yn dyfod i'ch cyfarfod, dwys ystyriwch dragwyddoldeb, a hyny a'u symuda ymaith.

Dywedir am un Pachomius, mai pa bryd bynag y teimlai ddymuniadau annghyfreithlawn yn codi yn ei feddwl, ei fod yn arfer eu gyru ymaith wrth gofio am dragwyddoldeb.

Adrodda yr un awdwr chwedl allan o Benedictus Rhexanus, am ddyn annuwiol, yr hwn ar noswaith neillduol oedd yn methu cysgu, yr hwn oddiar ddwys ystyriaeth am angeu a thragwyddoldeb, a sefyllfa y damnedigion yn uffern, oedd yn methu cael gorphwysdra, ond tragwyddoldeb fyddai yn rhedeg yn barhaus i'w feddwl; gan ei fod yn ewyllysio ysgwyd ymaith y meddyliau am hyn megys pryf cnoadwy, am hyny efe a ganlynai chwareuyddiaeth a chyfarfodydd digrif, ac eisteddai cyhyd yn aml gyda'r ddiod, nes y byddai i'w gydwybod gysgu, ac ymddangos fel yn cymeryd ychydig seibiant; ond pan ddeffroai, byddai ei gydwybod yn melltenu yn ei wyneb, a byddai yn ei adgofio yn barhaus â'r meddyliau erchyll am dragwyddoldeb. O bob peth yn y byd nis gallai oddef cael ei gadw yn effro yn y nos; ond dygwyddodd felly, pan yn glaf, iddo gael ei gadw yn effro, ac nis gallai gysgu mewn modd yn y byd; ar hyn daeth y meddyliau hyn i'w gyfarfod, "A ydyw yn beth mor flin i gael fy nghadw rhag cysgu am

un noswaith, ac i orwedd ychydig oriau yn y tywyllwch? O! pa beth ynte ydyw bod mewn poenau am byth? Yma yr wyf yn fy nhŷ fy hun, ar wely esmwyth, yn y tywyllwch yn cael fy nghadw ond un noswaith rhag cysgu; ond gorwedd mewn fflamiau a bythol drueni, pa mor ofnadwy sy raid ei fod!" Y myfyrdodau hyn a'u cyffelyb a fu yn foddion dedwydd o droedigaeth y gŵr ieuanc hwn.

Mi a ddarllenais hanes neillduol am un Theodorus, Cristion ieuanc yn yr Aifft, yr hwn, pan oedd llawer iawn o wledda, digrifwch, a chynghanedd yn nhŷ ei dad, a ymneillduodd oddiwrth ei holl gymdeithion; a phan wrtho ei hun, efe a feddyliodd fel hyn ynddo ei hun: "Yma y mae digon o ddigrifwch i'r cnawd, gallaf gael yr hyn a ewyllysiwyf; ond pa hyd y pery hyn? Ni pharhâ hyn yn hir. Yna, gan ymostwng ar ei liniau ger bron yr Arglwydd, efe a ddywedodd, "O Arglwydd! mae fy nghalon yn agored i ti; nid wyf fi yn wir yn gwybod beth i'w ofyn, ond yn unig hyn,—Arglwydd, na âd i mi farw yn dragwyddol. O Arglwydd, ti a wyddost fy mod yn dy garu di; O! bydded i mi fyw yn dragwyddol i'th glodfori di."

Os oes unrhyw foddion ar y ddaear at ein dwyn ar ein gliniau ger bron Duw yn y dirgel, meddwl yn ddwys ac yn sobr am dragwyddoldeb yw hyny. O! na syrthiai arswyd tragwyddoldeb ar eich heneidiau. O! na ddwys ystyriech, mai yn mhen ychydig amser eto y bydd raid i chwi ddechreu ar sefyllfa dragwyddol; mai gagendor diwaelod, dibendraw, ac annherfynol yw tragwyddoldeb, na ddichon un llinyn ei fesur, yr un amser ei gyraedd, yr un oedran ei dreulio allan, na'r un tafod ei draethu. Parhad presenol oestadol ydyw; un dydd oestadol ydyw, yr hwn na wêl dywyllwch byth. O gyfeillion! mae hyn yn alarnad a raid iddo fod, sef, Bod tragwyddoldeb yn beth nad yw y rhan fwyaf o ddynion yn meddwl byth am dano, neu ynte ond yn ysgafn iawn; tremiad ac ymaith, megys y dywedir fod cŵn yn llyfu ac ymaith,

wrth afon Nilus. Ond os byth yr ewyllysiech gael eich calonau wedi eu cadwyno wrth eich hystafelloedd, ac wrth ddyledswyddau ystafellol, fel yr oedd gwŷr Tyrus yn cadwyno eu duw Apollo wrth bost, fel y byddent yn sicr o hono, yna ystyriwch yn ddwys ac yn aml am dragwyddoldeb, a chyda'r deugain merthyron gwrol hyny, gwaeddwch yn barhaus, "O dragwyddoldeb! dragwyddoldeb!"

Mr. Wood, wedi rhyw ymddyddan santaidd, a syrthiodd i fyfyrio, ac a waeddodd allan ger bron pawb oedd yn brerenol, am agos i chwarter awr yn nghyd, "Am byth, am byth, am byth." Gweddi Awstin ydoedd, "Haccia fi, nadd fi, llosg fi yma, ond arbed fi yn ol llaw, arbed fi yn ol llaw." Diamau pe bae Cristionogion ond treulio un chwarter awr bob dydd mewn dwys ystyriaethau ar dragwyddoldeb, gwnai iddynt garu gweddi ystafellol yn fwy, gwnai iddyut ofni ei hesgeuluso yn fwy, a byddent yn fwy gofalus a chydwybodol yn y cyflawniad o bob dyledswydd ystafellol nag erioed.

Ac fel hyn, yn ol fy nawn gwan, y rhoddais i chwi yn bresenol yr hyn a roddodd yr Arglwydd o'i raslonrwydd i'm henaid tylawd, mewn perthynas i'r ddyledswydd dra angenrheidiol hon o weddi ystafellol, a chaf drwy gymhorth gras, ganlyn y darn tylawd hwn â'm gweddïau, ar iddo gael ei fendithio felly oddiuchod, fel ag y byddo iddo weithio yn nerthol i dragwyddol iachawdwriaeth eich eneidiau anfarwol, Amen.

# HYMNAU.

1 Eu hun mor eiddil ag yw'r pryfaid,
P'odd y saif credinwyr gweiniaid,
Pan mae 'storm a brâd gelynion,
Ar bob llaw 'n eu curo'n gyson?

2 Er teimlo'n eiddil ar y ma's,
Adwaenant gysur gorsedd gras;
Y Duw sy'n gwrandaw gweddi'r gwan,
A'u cynorthwya yn mhob man.

3 Er hir oedi'r Arglwydd tirion,
Fe a'u cynorthwya'n brydlon;
Yr hwn ddysg eu calon i weddïo,
Ni chânt ofer lefain arno.

4 Ymdrechol weddi, gwyrthiau wna;
O'r wasgfa fwyaf hi'n rhyddhâ;
Geill gweddi hyrddio gyrfa trwy
Byrth pres a barau heiyrn, a mwy.

5 Hezecia ar ei ddeulin,
Llu balch Assur wnaeth yn ddiddim;
A phan wedi ei ddal gan glefyd,
Gweddi roddodd iddo fywyd.

6 Pedr mewn carchar a chadwynau,
Gweddi daer a'i dyg o'i rwymau;
Llef Elias ddyg gawodau,
'Nol sychder blin dair o flynyddau.

7 Gallwn eto dystio'n ddiau,
Mai yr un yw Duw i ninau;
Er in' ofni na wnai wrando,
Brys-ymwared ddaeth oddiwrtho.

8 Am ei ryfeddodau ini,
Boed ein calon yn clodfori;
Oddiar brofiad melus ddysgwyd,
Llefwn arno dros ein bywyd.

---

1 O!'r llu rhwystrau sy'n cyfarfod,
Wrth dd'od at yr orsedd hynod;
Eto pwy a ŵyr werth gweddi,
Na fyn dd'od yn fynych ati?

2 Gỳr gweddi'r cwmwl dû ar hynt;
Dring gweddi ysgol Jacob gynt;
Rhydd i ffydd a chariad waith,
A dwg i lawr fendithion maith.

3 Paid a'r weddi, peidiwn brwydro;
Gweddi wna i'r arf ddysgleirio;
Satan gryna gan wir ddychryn,
Pan wêl eiddil sant ar ddeulin.

4 Tra bu breichiau Moses fyny,
Yr oedd Israel yn gorchfygu;
Ond pan flinai eu dal eilwaith,
Cai Amalec y fuddugoliaeth.

5 Ai heb air? O! ail feddyliwch,
'Heda geiriau pan achwynwch,
Llanwant glustiau'ch cydgre'duriaid,
A thrist hanes eich byd caled.

6 Pe cai hanner ffûn gamdreulir,
Fyn'd i'r nef mewn gweddi gywir,
Melus ganech wedi hyny,
"Clywch beth wnaeth yr Arglwydd ini."

---

ARGRAFFWYD GAN RICHARD JONES, DOLGELLAU.

